# DAU DRAETHAWD;

Y CYNTAF AR

# ARDDERCHAWGRWYDD

# YR IAITH GYMRAEG,

A'R AIL AR

Y CREULONDEB O YSPEILIO

## LLONGAU DRYLLIEDIG.

---

GAN SAMUEL ROBERTS.

---

CAERNARFON:

ARGRAFFWYD GAN J. T. JONES, HEOL-BANGOR.

1834.

Digitized by Google

## HYSBYSIAD.

---

Cynwysa y dalenau canlynol *ran* o Draethawd a ysgrifenwyd ar un o brif destynau Eisteddfod Powys, yn y flwyddyn 1824. Er ei bod weithian yn rhy hŵyr i'r ysgrifenydd gyflwyno ei ddiolchgarwch i'r Arolygwŷr am eu Hanrheg, ac i'r Beirniaid am eu Cymeradwyaeth; eto, nis gall anghofio ei rwymedigaethau iddynt; ac yn enwedigol i'r Parchedig Walter Davies, Manafon, a'r diweddar Barchedig John Jenkins, Ceri, am eu hynaws garedigrwydd. Mynych annogwyd ef, gan amryw gyfeillion, i gynyg y Sylwadau canlynol i sylw mwy cyhoeddus; a buasai yn rhwydd gydsynio a'u cais yn *gynt*, oni buasai ei awydd cynhyddol i weled yn argraffedig, y

Digitized by Google

Traethawd Llwyddianus. Buasai yn lled hawdd iddo *heddyw* ychwanegu cryn lawer at grybwylliadau a ysgrifenwyd er ys bron *ddeng mlynedd* yn ol, am fod y Gymraeg, er y pryd hyny, wedi cael llawer o goleddiad; ond, er cadw rhag meithder, dewisodd ymattal, mewn hyder a disgwyliad y bydd i rywrai mwy cyfarwydd, ac mewn gwell cyfle, gael hamdden a thuedd i ysgrifenu yn fwy manwl a mwy cyflawn ar "Amrywiadau ei Hymadrodd" erbyn Eisteddfod Caerdydd.

Llanbrynmair, Ionawr 1, 1834.

Digitized by Google

# ARDDERCHAWGRWYDD

# YR IAITH GYMRAEG.

"Tri anhepgor Iaith,—Purdeb, amledd, ac hyweddiant."

IAITH, ydyw y ddawn ardderchog sydd gan ddyn, i amlygu meddyliau ei galon i'w gyd-ddynion, ar lafar, neu mewn ysgrifen.

Golyga rhai, fod dynion ar y cyntaf yn *llwyr* amddifaid o ddawn ymadrodd; ac mai yn raddol, trwy gydymgyfeillachu, y dysgasant siarad, ond dangosir i ni gan hen Hanesydd ysprydoledig, i *egwyddorion* iaith gael eu plannu ar y cyntaf mewn dyn, gan Dad ein hysprydoedd, a Lluniwr peiriannau cywreinion ymadrodd.

Y mae doethineb a gras Duw yn gorddysgleirio yn ei waith yn cynnysgaeddu dyn â'r ddawn hon; a diau y gellir ei hystyried fel un o roddion gwerthfawrocaf y nef, ac un o sylfaeni penaf cysur, cynnydd, a gogoniant dyn. Heb iaith—neu ryw gyfrwng cyffelyb i osod allan ei amgyffredion—buasai raid i enaid dyn, y ran ryfeddaf a gogoneddusaf o waith Duw, orwedd mewn cysgadrwydd a marweidd-dra: a phe difadid dynion o ddawn ym-



Digitized by Google

adrodd, dyhyspyddid ar unwaith ffynhonell eu cysur fel crëaduriaid cymdeithasgar; darfyddai bywiogrwydd a defnyddioldeb cyfundraeth gywrain y meddwl; gorchuddid y byd âg annhrefn, a gorlenwid y fynwes ddynol â thrueni.

Mae yn amlwg mai UN iaith ydoedd ar wyneb yr holl ddaear, am yspaid agos i ddeunaw cant o flynyddoedd, sef, o grëadigaeth Adda hyd amser adeiladiad Tŵr Babel, yn ngwastadedd *Sinar;* ond yno, darfu i'r Arglwydd gymmysgu iaith ein cyndadau i ddiddymu eu cynghorion pechadurus, ac i attal cyflawniad eu coeg amcanion.

Nid ellir penderfynu yn bresenol, pa sawl iaith oedd yn cael ei siarad gynt yn nyffryn *Sinar*, ond yn awr, mewn canlyniad i chwyldröadau yr amseroedd, helyntion teyrnasoedd, ymwasgariad ac adymgymmysgiad gwahanol dylwythau y ddaear, y mae iaith *wahanol*, neu gangheniaith *wahaniaethol*, bron yn mhob ynys a gor-ynys, o begwn y gogledd hyd begwn y dè; ac y'mysg *deg-cant-ar-hugain*, neu ragor, o dafodieithoedd, a arferir yn bresenol gan drigolion y byd, diddadl fod *rhai* yn rhagori ar eraill; ac oherwydd cyflawnder eu geiriau, grym a mwynder eu seiniadaeth, y'nghyd â pherffeithrwydd eu teithi cystrawenol, yn *addasach* i amlygu meddwl dyn.

Y mae yn gyson âg egwyddorion gwladgarwch i bob cenedl farnu yn dda am ei hiaith ei *hun;* a chan

Digitized by Google

fod yspryd gwladgarawl yn hynodi y CYMRY gymaint ag un genedl dan yr haul, a serch gwresoglawn at eu hiaith yn gorlenwi eu calonau, nid rhyfedd eu bod yn amlygu y fath ymlyniad wrth yr Omeraeg, ac am arddangos ei " HARDDERCHAWGRWYDD."

Ond haerir gan *rai*, yn y dyddiau presenol, fod Hynafieithwyr a Beirdd Cymru, yn rhy frwd a gorwyllt o'i phlaid; a'u bod, trwy hyny, yn rhedeg i eithafoedd wrth amlygu eu hymlyniad wrthi. Addefaf yn rhwydd fod ein beirdd, ar brydiau, yn dra gwresogfrydig gyda golwg ar hyn; ac yn rhuthro yn lled ddïymarbed ar y coeg foneddigion ydynt yn ei gwadu, ac am ei chladdu yn llwch anghof; a dichon eu bod yn treulio *gormod* o'u hamser a'u hawenydd i arllwys gwawd am benau y cyfryw, ac y byddai yn ddoethach iddynt eu gadael yn ddïystyr i huno mewn tawelwch gydâ'u tadau. Ond yn wyneb y cyfan gellir tystio yn ddibetrus am Feirdd Cymru, *nad* ydynt wedi myned *mor bell* i eithafoedd â beirdd Groeg a Rhufain; a chan y canmolir gwresog-frydedd gwladgarawl enwogion estronawl, paham y beïir hyn yn y Cymry? Goddefir i *Homer* gasglu a defnyddio holl liwiau godidocaf naturiaeth i addurno prydferthwch hud-ddenawl ei *Helen*, a rhoddir cyflawn ryddid iddo dderchafu ei *Ulusses* gyfrwys-gall, a'i *Achilles* anorchfygawl " *ad astra*" ar edyn ei awen. Rhoddir hefyd yr un rhyddid i awen *Virgil* ddarlunio gorchestion ei *Enëas*, a hygarwch ei *Ascanius;* a gollyngir

Digitized by Google

y rhaff iddi daenu eu henwogrwydd o Rufain i bedryfan daear; ond os clywir beirdd Cymru yn sôn am brydferthwch a gwladgarwch eu Bronwen a'u Buddug—am wroldeb eu cewri, Eidiol, Idris, a Charadoc—am ogoniant eu hiaith, a chyn-enwogrwydd eu cenedl, dywedir yn y fan "fod eu hamryfusedd yn gadarn—eu pen-boethni yn orwyllt, a'u holl alluoedd eneidiol wedi eu cadwyno yn llyffetheiriau rhagfarn"

Ond er bod *rhai* yn y dyddiau presenol yn ymgodi i ddirmygu yr Omeraeg, ac am ei gwthio dros y geulan ddï-adlam i fythol suddo yn llyngclyn anghof, tra hoff genyf weled cynnifer o enwogion urddasol a dysgedig yn cyd-ymfyddinaw i sefyll o'i phlaid; ac yr wyf yn dra hyderus y codir ei baner eleni yn EISTEDDFOD POWYS, yn uwch nag erioed; a dywenydd genyf fod cymdeithas enwog Cymmrodorion Powys wedi rhoddi y fath annogaeth i ddysgedigion Cymru osod allan ei "*Hardderchawgrwydd;—y Buddioldeb o'i Choleddu;—a'r Moddion mwyaf tebygol i Sicrhau ei Pharhad a'i Llwyddiant.*"

Ni bu erioed adeg gymhwysach i gymeryd y fath destyn dan sylw, ac hyderaf yr ysgrifenir amrai draethodau gorchestawl arno; a chan fy mod innau yn hoffi y Gymraeg, dymunaf gael fy rhestru yn y fyddin, i godi fy llaw a fy llais o'i phlaid.

Ond gan fod cryn gynnwrf yn bresenol yn y Dywysogaeth mewn perthynas i'r "IAITH GYMRAEG," a chymaint o "ddywedyd yn ei herbyn," ac

Digitized by Google

o feïo ar ei choleddwyr, cymeraf genad i rag-grybwyll, yn

1. *Nad ydwyf am ddirmygu unrhyw iaith ag sydd mewn bod.* Fy *unig* amcan fydd nodi allan *rai* o ragoriaethau yr Omeraeg. Ond gan nad ellir arddangos ardderchawgrwydd unrhyw iaith heb ei chydmaru âg eraill—os crybwyllir eraill yn y traethawd canlynawl, ac os dyfynir o honynt, na feddylied neb fy mod trwy hyny am eu dïystyru. Ni feiddiaf, ac ni fedraf chwaith, ddywedyd wrth neb o'm cymmydogion,

> " Och sòraf wrth eich siarad,
> Swn an-noeth sy' yn y nâd;"

ond cydsyniaf yn hollawl â syniadau y bardd a ddywedodd,

> " Y Saes'naeg sydd aeg a ddyd—wir addysg,
> O wreiddion celfyddyd:
> Yr iaith *honno,* tra b'o byd,
> Cofier—A CHYMRAEG HEFYD."

2. *Yr ymdrechaf, hyd y gallwyf, i ochelyd eithafoedd, ac yr ymegnïaf i ymryddhau o gadwynau dall-bleidiaeth, ac i ymddattod o lyffetheiriau rhagfarn.* Nid wyf yn bwriadu crûg-lwytho fy ysgrif âg " haeriadau disail mewn perthynas i ogoniant a boneddigeiddrwydd yr iaith Gymraeg." Nid wyf chwaith am ei gwisgo mewn gwisgoedd â thlysau dychymygawl, ac yna " cor-ganu ac uchel-floeddio ei mawl, gan addoli ger ei bron, a dwyn anrhegion i'w hallor." Ni

Digitized by Google

chymeraf y boen i gasglu blodau ei barddoniaeth i ddallu llygaid fy nghydwladwyr, ac ni chynhygiaf iddynt ddiferion ei mêl-ddiliau er mwyn llygru eu harchwaeth; ond taer erfyniaf eu cenad i osod allan *rai* o'i rhagoriaethau, mewn modd bŷr, mewn iaith rwydd, a chydag yspryd diragfarn.

3. *Fy mod yn dymuno i bob sylw a osodir ger bron yn y dalenau canlynawl, gael ei ddwys ystyr-ied cyn cael ei dderbyn.* Da genyf feddwl y manwl-bwysir pob gosodiad yn nghlorian rheswm, ac yr ymddiriedir y *glorian* i law y dysgedig. Y mae llawenydd yn awr yn gorlenwi fy mynwes, wrth weled y Gymraeg yn cael ei chodi i fwrdd dysgeid-iaeth, a'i dwyn i sylw y cyfarwydd; canys nid colled i'n hiaith fydd cael ei chwilio a'i phrofi. Yr wyf yn hoffi gweled *gwrth*-Gymreigwyr yn ymddangos yn *gyhoedd* ar faes dadleuaeth, yn lle llechu yn eu tyllau i *ddirgel*-lunio bradwriaeth yn erbyn y Gym-raeg. Diau fod ganddynt hawl gyfreithlawn i chwilio a barnu drostynt eu hunain, a bod iddynt gyflawn roesaw i gyhoeddi eu barnau i'r Dywysog-aeth; ond ar yr un pryd, byddai yn burion iddynt gofio, na dderbynir *haeriad* yn lle *prawf*. Mai nid digon iddynt ddynodi ein hiaith fel "burgyn gwrach," ei galw yn iaith farw, yn iaith farbaraidd, yn iaith anial a chlogyrnog, a haeru yn ddigywilydd fod ei "meusydd fel Gilboa, ei dyffrynoedd yn las-wellt gwywedig, ei ffynhonau yn hespion, a'i bronau

Digitized by Google

yn ddilaeth." Y mae yn rhy gynnar iddynt etto, ei rhestru gyda barbarieithoedd distadlaf y byd—ei chyhoeddi fel ysgymmun-beth, ac fel melldith a rhêg dros wyneb y ddaear," gan ei dedfrydu i gael ei balltudio yn dragywyddawl i "ddiyngan diroedd anghof." Ofer iddynt groch-floeddio, "I lawr â hi fel maen melin i'r môr;" canys gan fod dewr-feib awen, dawn, a dysgeidiaeth, wedi ymarfogi ac yn cyd-ymfyddinaw i sefyll o'i phlaid, ni oddefir iddi gael ei chollfarnu mor fyrbwyll, a'i brad-fwrddro mor anghyfiawn. Caffed brawf têg, ac ni chais ychwaneg. Ond ymddengys ARDDERCHAWGRWYDD YR IAITH GYMRAEG, os ystyrir yn ddiduedd, *ei hynafiaeth, ei chyn-enwogrwydd, ei chadwraeth, ei phurdeb, a'i hanymddibyniaeth.*

Rhy anhawdd penderfynu yn bresenol pa iaith ydoedd mewn arferiad gan y cyn-ddiluwiaid. Heblaw yr ieithoedd a adnabyddir yn gyffredin wrth yr enw "*dwyreiniol,*" ac yn neillduol yr Hebraeg a'r Syriaeg, amrai eraill, megis yr Armeniaeg, y Chinaeg, y Goptaeg, y Roeg, a'r Deutonaeg, a ymhònant hawl i'r flaenoriaeth; a da genyf allu chwanegu, fod amrai ddysgedigion yn barnu, mai os nad yr hen OMERAEG ydyw mam holl ieithoedd y ddaear—mai, os nad y HI a roddwyd i Adda yn Ngwynfa cyn colli delw hardd ei Greawdydd, fod ganddi gystal hawl âg unrhyw iaith i goron anrhydeddus hynafiaeth.

Digitized by Google

Er cymaint fu ymdrech enwogion dysgedig o oes i oes i gael hyn i eglurder, mae y pwnc heddyw mor guddiedig mewn tywyllwch ag erioed; ac yn debyg o barhau felly hyd ddydd brawd: gan hyny, cysged y ddadl yn dawel y'mhlith y dirgeledigaethau, hyd y boreu mawr y dadlenir rhyfeddodau amser, ac yr agorir pyrth erfawr tragywyddoldeb.

Amrai ddysgedigion tra enwog a olygant, *nad* ydyw iaith y cyn-ddiluwiaid mewn bod yn bresenol, ond iddi gael ei llwyr golli y'nghymmysgfa Babel, ac o ganlyniad mai ofer fyddai i neb geisio olrhain yn ôl unrhyw iaith y'mhellach nag ymwasgariad tylwythau y ddaear o wastadedd Sinar; ac mai rhyfyg fyddai i unrhyw genedl haeru, *mai eu hiaith hwy ydoedd iaith Adda.* Ar y dybiaeth fod iaith y cyn-ddiluwiaid mewn bod hyd heddyw, gan nad ellir penderfynu pa un ydyw, mae gan y *Gymraeg* gystal hawl i'r flaenoriaeth ag un. Er na fedr neb brofi mai hi *ydoedd* iaith Adda, nid oes neb, o'r tu arall, a all brofi mai *nid* y hi ydoedd.

Ond os nad ydyw yr iaith honno yn awr mewn arferiad—yr hyn, ar y cyfan, sydd fwyaf tebygol—gellir tystio yn ddibetrus nad oes ar wyneb yr holl ddaear iaith hŷn, nag iaith Gomer. Addefwn fod iddi *chwaer* ieithoedd, ond nid oes iddi yr un *fam* iaith. Digon gwir, y byddai yn ormod i ni ddywedyd yn benderfynol, ei bod yn cael ei siarad gan Adda yn *Eden*, ond nid gormod fyddai i ni ddywedyd

Digitized by Google

ei bod yn cael ei siarad gan ein cyn-dadau yn nyffryn *Sinar*, a hyderaf y canfyddir wrth fyned yn mlaen, iddi gael ei chadw mor bur, os nid yn burach, nag un iaith arall dan ffurfafen y nefoedd.

I brofi y gosodiadau hyn, dau beth ydynt angenrheidiol: *Yn gyntaf,* Olrhain ein cenedl yn ôl hyd ddyddiau *Noah;* ac *yn ail,* Dangos mai y Gymraeg ydoedd iaith *corph* y genedl o hyny hyd heddyw.

Nid anhawdd fyddai profi yn anwrthwynebol, fod cenedl y Cymry wedi deilliaw oddiwrth *Gomer*, mab hynaf *Japheth*, cyntafanedig *Noah*. Tystiolaethau dysgedigion y cyn-oesoedd, a chydsyniad hynafyddion enwog yr oes bresenol, a arddangosant hyn yn y modd egluraf, ac a'i profant yn y modd cadarnaf.

Byddai yn hawdd i ni osod ger bron yma, farnau lleng o'r dynion enwocaf a ymddangosasant erioed ar ëang faes dysgeidiaeth—megis *Eustatius*, *Isidore*, *Zonaras*, *Josephus*, *Ptolemy*, *Strabo*, *Pliny*, *Dionysius*, *Mela*, *Theodoret*, *Pezron*, *Bullet*, *Bochart*, *Rawleigh*, a lliaws o hynafieithwyr diweddarach, i gadarnhau y gosodiad hwn. Ond gan fod hyn yn llwyr afreidiol, gallwn ymlawenhau wrth ddywedyd y'ngeiriau awduron dysgedig, yr '*Universal History*,' "fod y CYMRY o barth HYNAFIAETH, yn rhagori ar holl genhedlaethau y ddaear."

Er bod rhai o'r doethion paganaidd, yn rhoddi y flaenoriaeth i'r Aiphtiaid a'r Phrygiaid; ac eraill, ar

y dybiaeth gyfeiliornus, mai nid *Gomer* ydoedd *cynfab Japheth*, yn gweiddi, "*Scytharum gens antiquissima*," etto yn ol y tystiolaethau mwyaf cedyrn ac eglur, y *Cymry* ydynt iawn etifeddion coron anrhydeddus hynafiaeth: a phe buasai brenhiniaeth, ac archoffeiriadaeth y byd, wedi eu trosglwyddo, trwy ddeddf dragywyddol, i gyntaf-anedigion *Noah*, a phe buasai *llinach* ei etifeddion heb ei thori hyd yn bresenol, CYMRO fuasai heddyw yn eistedd ar deyrn-gadair y byd, ac yn ysgwyd ei deyrn-wïalen goruwch wyneb y ddaear, i lywio ei thrigolion gyda rhwysg cyffredinawl;—a CHYMRO hefyd, fuasai yn gweini yn y cyssegr sancteiddiolaf, yn ei laes-wisgoedd archoffeiriadawl, â'r meitr coronawg yn addurno ei ben, a'r urim sanctaidd yn seirian ddysgleiriaw ar ei ddwyfron.

Y mae yn amlwg bellach oddiwrth y crybwylliadau uchod, fod hardd goron hynafiaeth yn perthyn i genedl y Cymry, ac y mae mor amlwg â hyny, fod *corph* y genedl o ddyddiau y patriarch Noah, hyd ddyddiau ein teyrn grasusawl *Sior y pedwerydd*, YN SIARAD CYMRAEG.

Dywed yr enwog *Cluverius*, yr hynafieithydd Ellmynaidd, "Fod hen genedl enwog y Cymry, unwaith yn hilio holl gyfandir *Europe*, o gödiad y *Danube*, hyd benrhyn *Finisterre*, a chyfyng-for Escwlff.—Mai hwy oeddynt yn cyfanneddu gororau yr *Almaen*, y *Gelli*, *Spaen*, *Ilyria*, *Prydain*, &c.

Digitized by Google

A'U BOD OLL YN SIARAD YR UN IAITH," yr hon yn ddiddadl ydoedd yr IAITH GYMRAEG.

Dywed yr esgob *Walton*, yr hwn sydd yn dyfynu o ysgrifeniadau yr awdwr dysgedig *Marcus Zuerius Boxhornius*, "Fod y Gymraeg yn un o'r ieithoedd *gwreiddiol*, ei bod wedi ei chadw mewn arferiad hyd yn bresenol, a'i bod yn cael ei siarad yn awr gan drigolion Gwalia."

Heblaw hyn, dywed yr hanesydd a'r ieithydd cyfarwydd y *Dr. Davies* gynt o *Fallwyd*, yn ei "*Prepatio ad Lectorum*," yn nechreu ei Eirlyfr;—"gallwn restru ein hiaith y'mhlith mam-ieithoedd *Europe*, ac y mae genym liaws o bleidleisiau i gadarnhau hyn, heb un yn y gwrthwyneb; a hawdd penderfynu fel y gwna *Camden*, ei bod yn iaith o *fawr hynafiaeth*, ac mai hi ydoedd iaith cyn-frodorion Prydain, &c. Yr wyf yn cofleidio barn y rhai a olygant iddi gael ei dechreuad yn *Babel*, a chredaf ei bod yn un o'r mam-ieithoedd dwyreiniol, neu yn deilliaw yn uniongyrchol oddiwrthynt."

Diddadl fod tystiolaethau y dysgedigion rhaggrybwylledig—pe na buasai genym air i'w chwanegu—yn deilwng o'n sylw, ac yn ddigon safadwy i ni bwyso arnynt;—ond y prawfiadau *mwyaf* cedyrn ydynt etto yn ôl. Wedi i'r goleuadau dysgleirwych Llwyd, Pezron, ac M. Bullet ymddangos uwch y terfyngylch i oleuaw y byd hynafiaethawl, ffrwd-dywalltasant pelydr tanbeidiawl eu dysgeidiaeth, nes

Digitized by Google

gwasgaru y tywyllwch dudew ydoedd unwaith yn gorchuddio hanesyddiaeth ein cenedl, ac yn cûdd-lènu gogoniant ein tafodiaith. Yr enwogion crybwylledig a brofant mewn modd anwrthwynebadwy, fod y Gymraeg yn un o'r dwyrain ieithoedd mwyaf ei hynafiaeth, ac yn ol pob tebygolrwydd, yn un o brif ganghenau iaith Eden. Danghosant y'mhellach, ei bod yn cael ei siarad gynt yn y rhan fwyaf o gyfandir *Europe*—yn *Asia Leiaf*, a gwledydd eraill, ac iddi unwaith bron deilyngu yr enwad, "IAITH GYFFREDINAWL."

Cawn gefnogiad chwanegawl i hyn yn ysgrifenadau hanesyddawl *Strabo*, *Tacitus*, *Josephus*, *Appianus*, a haneswyr eraill, y rhai a ddywedant yn dra godidog am enwogrwydd ein cyn-deidiau. Dywed Appianus fod pedwar cant o lwythau enwog a lliosog, a thri-chant-ar-ddeg o ddinasoedd mawrion a chedyrn yn perthyn i'n cenedl yn nyddiau *Augustus Cæsar*, a gellir barnu eu bod yn llawer lliosocach o gylch chwe'-chan-mlynedd cyn hyny, yn amser *Tarquin* yr hynaf, pan y tòrasant yn lluoedd dros y "mynyddoedd mynnau," gan gymeryd RHUFAIN, a goresgyn a meddiannu y rhan fwyaf o fras diroedd yr *Eidal*.

*Europus* wedi dosparthu y byd yn bedair rhan, a ddywed mai etifeddiaeth y Cymry ydoedd y rhan orllewinol; a *Ptolemy* a eilw *Europe*, yn ol enw y Cymry, yn *Celtica*, yr hyn a gadarnheir gan dystiolaethau unfrydig y cyn-Roegwyr.

Digitized by Google

Dywedir gan *Eusebius* ac *Eustathius* i *Asia* yn fuan ar ol rhyfeloedd Caerdroia, gael ei gorlenwi gan luoedd buddugoliaethus y Cymry.

Dengys *Llwyd* hefyd yn ei '*Archaiologia*,' i lawer o'r Cymry fyned o *Asia leiaf* i *Thracia*, ac i amryw o honynt sefydlu yn gyfagos i'r man y mae Caer-Cystenyn yn awr; a bernir gan *rai*, mai llwyth o'r Cymry a sylfaenasant *Gaerdroia*,—ac os felly, y *Gymraeg* ydoedd iaith y cawr *Hector*, ac iaith y *Pius Aeneas*, Tad y *Caesariaid*, a sylfaenydd ymerodraeth Rhufain. Meddyliaf, gan hyny, mai nid gormod fyddai i ni gasglu oddiwrth y crybwylliadau uchod, y gallasai masnachydd yn y dyddiau gynt, drin ei fasnach mewn mwy nâ *mil* o ddinasoedd y cyfandir, yn yr IAITH GYMRAEG ; ac y gallasai ymdeithydd o Gymru gychwyn taith o ogledd-dir Iscoed-celyddon, a myned rhag ei flaen drwy brif ddinasoedd Lloegria hyd Gaerlûdd, a chroesi oddiyno dros y 'Mor Udd' i'r cyfandir, a myned rhagddo ar draws taleithau eang—dros afonydd llydain, a thrwy ddinasoedd mawrion, cyn belled, os nid y'mhellach nâ'r '*Môr Marw*,' a myned oddiyno drachefn—yn ol barn rhai—i auafu yn *Nghaerdroia;* ac yna dychwelyd adref trwy *Rufain*, *Spaen*, a gwlad y Gwyddyl, heb orfod newid ei iaith, na gwadu ei genedl.

Derwyddon y Cymry, yn ol barnau amrai ddysgedigion cyfarwydd, oeddynt " *Brif ddoethion y*



Digitized by Google

*Gorllewin,*" er amser pobliad cyntaf cyfandir *Europe;* a bernir, mai y cynghorion a'r traddodiadau crefyddawl a dderbyniasent oddiwrth eu teidiau, y *Noachidæ,* ydoedd sylfaen derwyddoniaeth, ond i'r gyfundraeth gael ei llygru yn raddol, gan newydd-ddefodau, mewn oesoedd diweddarach.

Meddyliaf gan hyny,—gan mai gweddillion y grefydd batriarchaidd ydoedd sylfaen derwyddoniaeth,—mai un o ieithoedd *Babel,* ydoedd iaith y "doethion derwyddawl" hyn; a chan fod gosodiadau a deddfau eu crefydd, yn gyfansoddedig, gan mwyaf, o ddiarhebion ac arallegion barddonawl,—y rhai a gyfansoddasid gyd âg ystyriaeth, a gyssegrasid gan hynhafiaeth, ac a draddodasid, *ipsissimis verbis,* o oes i oes, gyda'r gofal manylaf—gellir casglu yn naturiol, i'r iaith, yn mha un y cawsant eu cyfansoddi ar y cyntaf, gael ei chadw yn lled ddilwgr, tra y parhäodd derwyddoniaeth. A chan mae *Ynys Prydain* ydoedd brif orsaf y grefydd dderwyddol yn yr oesoedd diweddaraf, gellir barnu fod y Gymraeg y pryd hyny yn fwy blodeuog *yma* nag yn un o daleithau y cyfandir.

Hawdd, meddyliaf, ydyw olrhain y iaith Gymraeg yn ôl hyd ddyddiau Catwg Ddoeth, Taliesin Fardd, a Hywel Dda; ac mor hawdd a hyny ydyw penderfynu mai hi ydoedd iaith "prif ddoethion y gorllewin" er sylfaeniad cyntaf derwyddoniaeth; ac os felly, dïau ei bod yn un o ieithoedd Babel.

Digitized by Google

Addefir yn gyffredinawl, mai y Gymraeg ydoedd iaith *cyn-frodorion* Cymru, ac addefir y'mhellach mai yr *un* iaith ydoedd gan y "*tri llwyth*" a'i poblasant ar y cyntaf; yn ganlynol, diddadl iddynt ei chael yn yr *un* ffynnon, oesoedd lawer cyn hyny, pan oedd eu teidiau yn cyfansoddi yr *un* teulu—ac y mae yn fwy na thebygawl i'r ffynnon yma darddu yn nghymmysgfa Babel.

Mynych y cyfeirid, gan hynafyddion y cyn-oesoedd, at y "*Celtarum Lingua*" i egluro geir-darddiad enwau amrafael leoedd ar y cyfandir; yr hyn a rydd brawf ychwanegawl o'i hynafiaeth a'i chyn-enwogrwydd. Gan hyny, y Gymraeg ydoedd iaith *Sadwrn*, y cyntaf erioed a wisgodd goron frenhinawl; iaith yr arch-ddewin *Merchyr* ddoeth, a iaith *Iau* tad y duwiau. Y Gymraeg ydoedd iaith y gwroniaid a barasant i *Cæsariaid* ac arfogion Rhufain syn-grynu a sefyll draw mewn dychryn. Y Gymraeg ydoedd iaith y cewri a gynhyrfasant awenau y beirdd paganaidd trwy eu gorchestion—cewri digon gwrol a grymus i wynebu *Diomed* ac *Achilles* ar faes y gwaed; a digon teilwng i eistedd y'nghadair anrhydedd ar ddeheulaw cedyrn Dafydd. Y Gymraeg ydoedd iaith y dysgedigion a anfonasant y celfyddydau i Athen, ac a ddysgasant yr A B C i foneddigion dysgedig Lloegria.—Yr iaith a lefarwyd gan enwogion llawer oes, ar y maes, yn y llys, ac wrth yr allor.

Digitized by Google

Ond dichon y gofynir yn wawdus gan rai, "Pa gyssylltiad sydd rhwng y crybwylliadau hanesyddol hyn âg ARDDERCHAWGRWYDD YR IAITH GYMRAEG?"—Mewn atebiad i'r cyfryw gellir dywedyd, eu bod—heblaw ei hardd-goroni â hynafiaeth, yn arddangos ar unwaith, ei chyflawnder cynnwynawl diderfyn, ynghyd a symledd naturiol ei chyfansoddiad cystrawenol. Canys os addefir mai y Gymraeg ydoedd iaith y "tadau derwyddawl, prif ddoethion y gorllewin," canfyddir yn anocheladwy iddi dderbyn y coleddiad manylaf dros lawer o oesoedd; a gellir casglu yn naturiol ei bod yn iaith addurnedig a blodeuog. A chan mai hi ydoedd iaith masnach—iaith awenydd—iaith llysoedd, a iaith temlau y rhan fwyaf o *Europe* am gannoedd o flynyddoedd, rhaid ei bod yn gyfoethog o barth geiriau, a grymuslawn o barth cystrawen.

Canfyddir bellach, fod y Frythoneg yn iaith *hen*, ac yn *iaith enwog*;—a pha galon Gymreig a all lai na dychlàmu o lawenydd, wrth feddwl ei bod *heddyw* yn fyw, ac yn derbyn sylw, parch, a choleddiad? Dywed yr enwog *Dr. Collyer*, "ei bod yn orlwythog o heirdd-nodau hynafiaeth." Ac awduron dysgedig yr '*Universal History*' a dystiant yn ddibetrus, ei bod wedi ei chadw yn *hwy* ac yn *burach* nag un iaith arall mewn bod.

Y mae'n wir fod yr hybarch iaith Hebraeg yn dra blodeuog o ddyddiau Moesen y prophwyd hyd ddydd-

iau Selyf ddoeth; ond yn fuan wedi hyny cafodd ei hesgeuluso, ei dirmygu, ei chymmysgu, a'i llygru, nes o'r diwedd gael ei llwyr gladdu am dro, yn llwch anghof. Gwir hefyd fod yr iaith rymus Ladinaidd, yn derbyn sylw a choleddiad cyffredinawl yn nyddiau *Cicero* a *Virgil;* a bod duwinyddion a beirdd mewn oesoedd diweddarach yn ei hoffi a'i harfer: eithr y mae'n awr yn '*iaith farw;*'—nid oes neb yn ei siarad, na nemawr yn ei hysgrifenu. Ond ni pherthyn i mi yn bresenol ddangos *pa* ieithoedd a lygrwyd ac a gladdwyd; ac ni raid i mi chwaith gymeryd amser i brofi fod y nifer amlaf o ieithoedd enwocaf *Europe,* wedi eu haddurno â "thlysau benthycawl." Digon i mi yw gallu dywedyd yn ddibetrus, a chydâ hyfrydwch, mai *nid* tlysau "benthycawl" na "dychymygawl" ydyw addurn y Gymraeg.

Ond dichon y gofynir gan rai, gyda syndod anghrediniawl,—Pa fodd y cadwyd y Gymraeg mor bur a dilwgr, pan y cafodd ieithoedd eraill eu llygru, a'u claddu mewn anghof? Bernir gan ddysgedigion, fod hyn i'w briodoli yn bènaf i wroldeb, gwladgarwch, a boneddigeiddrwydd ein cyn-dadau.—Yr oeddynt yn rhy *wrol* i lwyr blygu dan iau caethiwed—yn rhy *wladgarawl* i wadu eu hiaith—ac yn rhy *foneddigaidd* i fenthycio geiriau estronawl.

Y mae'n amlwg fod y gelfyddyd o *ysgrifenu* yn adnabyddus i'r hen Gymry, "er y dyddiau gynt, blynyddoedd yr hen oesoedd," ac y mae yn debygol

Digitized by Google

iddynt ei derbyn—nid oddiwrth y Groegiaid, fel yr haerai rhai—ond i'r *ddwy* genedl ei dysgu yn yr *un* ysgol, yn dra buan wedi dyddiau'r diluw; a diau fod hyn mewn rhan fawr yn achos o burdeb a chadwraeth yr iaith Gymraeg.

Y mae genym hefyd y sylfaeni cryfaf i gasglu fod y gyfundraeth dderwyddawl yn dra ëang a chywrain, a diddadl fod yr iaith Gymraeg yn cael—nid yn unig ei manwl-goleddu wrth gyfansoddi yr unrhyw—ond yr oeddid yn *sefydlu* sain ac ystyr ei geiriau, ac yn gwneuthur *argraph arosol* ar ei chystrawiad, wrth adrodd yn gyhoeddus, ar y gwyliau arbènig, y prif osodiadau derwyddawl.

Yr oedd y beirdd hefyd, mewn oesoedd diweddarach, yn cael eu rhwymo gan ddeddfau a defodau barddoniaeth, i goleddu eu hiaith; ac ni oddefid iddynt ddefnyddio geiriau estronawl yn eu gwahanol gyfansoddiadau.

Canfyddir bellach, os dylid anrhydeddu *purdeb* a *hynafiaeth*, fod parch ac anrhydedd yn perthynu i'r GYMRAEG. Pwy, gan hyny, o'i hadnabyddwyr, a all lai nag ymfalchïo wrth ei siarad—yr hon—"Nec potuit ferrum, nec edax abolere vetustas?" Os hoffem feddiannu rhai o weddillion anrhydeddus y cyn-oesoedd, nid allwn lai nag ymhyfrydu yn ein *hen iaith* ardderchog. Credaf y byddai yn dra hoff gan bob Cymro diledryw weled y *trosol* fu gynt gan Eidiol, yn dial gwaed pendefigion Cymru, ar ddeng-

Digitized by Google

wr-a-thrugain o gigyddion mileinig Hengist, yn ngwastadedd Caercaradoc; a diau genyf y ffrwd-lifai llawenydd trwy ei fynwes, pe gallai rywfodd gyrhaedd yr anrhydedd gor-hyfrydawl o wregysu ar ei glûn *gleddyf gloyw* y cawr Caradoc; a byddai gwisgo *brenhinwisg borphoraidd*, neu *goron orddysglaer* ei dad Sadwrn, yn ddigon i foddi ei deimladau mewn dylif o orfoledd. Ond er fod trosol nodedig Eidiol wedi hên bydru, a chleddyf dûr Caradoc ddewrwych wedi ei ysu gan rŵd er ys oesoedd bellach, ac er fod brenhinwisg goch y tywysog Sadwrn yn awr mor ddiwerth a'i amdô, a'i goron ysplenydd mor wael ei drych a'r pen fu'n ei gwisgo, y mae IAITH y gwroniaid hyn wedi ei chadw yn dra dilwgr hyd yn bresenol, ac yn cael ei siarad heddyw mor rhwydd ag erioed, gan feibion a merched Gomer.

Er bod llawer cromlech dderwyddawl a fuasai yn trech-bwyso y clogwyn craig aruthrawl ydoedd gynt yn gorwedd ar enau ogof y gor-gawr *Polypheme*, wedi suddo er ystalm i lwch y ddaear, a drylliau y nifer amlaf o hen demlau y derwyddon yn awr yn cael eu cuddio yn y pridd, gan fân feillion a heirdd flodau y dyffryn; y mae yr iaith Gymraeg, yr hon gynt oeddid yn bêr-seiniaw o'u mewn, pan yn eu cyssegru at wasanaeth crefyddol, *etto* yn fyw, ac heb ei chuddio yn y llwch. Ar fyr, mae yn derbyn *gwell* coleddiad nag erioed, ac yn debyg o barhau mewn bri ac arferiad hyd y boreu mawr y bydd bryniau a

Digitized by Google

broydd Cymru yn adseinio bloedd arch-ringyll y nef, ac yn trŷ-siglo wrth sain udgorn y farn.

Ond er bod *hynafiaeth* a *chadwraeth* y Gymraeg yn ddigon i gynhyrfu yn ein mynwesau y cariad gwresòcaf tuag atti, a'r ymlyniad cryfaf wrthi; etto y mae genym seiliau *rhagorach* i ddadleu o'i phlaid. Nid ei chyn-enwogrwydd ydyw *prif* sylfaen ei gogoniant, ond y mae ei hardderchawgrwydd *penaf* yn gynnwysedig yn ei "*Rhagoriaethau cynhenid, a'i haddasrwydd fel cyfrwng i osod allan amgyffredion meddwl dyn.*"

Er na ddymunwn fyned mor bell yn bresenol, ag i ddywedyd, fod y Gymraeg yn rhagori ar *bob* iaith arall, etto ymdrechaf ddangos mewn modd bỳr a diaddurn ei bod yn cynnwys llawer o brif ragoriaethau ieithoedd enwòcaf y byd; a gadawaf i'r darllenydd dỳnu y casgliad a ewyllysio, a ffurfio ei benderfyniad ei hun.

Y mae amryw o briodoliaethau a rhagoriaethau yr *Hebraeg* yn perthyn i'r iaith Gymraeg. Crybwylla y dysgedig *Rowlands*, yn ei '*Comparative Table of Languages*,' gant a hàner o eiriau Cymraeg ag ydynt yn cyfatteb mewn sain a synwyr i eiriau Hebraeg. Dengys hefyd fod y Gymraeg yn cynnwys mwy o'r hên iaith honno, na holl ieithoedd *Europe gyda'u gilydd;* ac y mae yn penderfynu oddiwrth hyny mai hi ydyw'r *hynaf* a'r *buraf* o holl ieithoedd y gorllewin.

Digitized by Google

Rhoddir i ni hefyd gadarnhad pellach o hyn, gan yr ieithydd cyfarwydd *Holloway*, yr hwn a ddengys mewn dull tra medrus, yr agos gyfathrach sydd rhwng y ddwy iaith; ac a dystia fod y Gymraeg fel yr Hebraeg yn enwog o ran hynafiaeth, ac ynnodedig o ran ei symledd cyfunawl; ac y gallai Cymreigydd cyfarwydd ddarllen Hebraeg gyda rhwyddineb a hyfrydwch.

Gwelir hefyd amrai sylwadau tra chywrain ar hyn yn y '*Cambro Briton,*' o eiddo ysgrifenydd medrus o Feirion, yr hwn a ddywed, y cyfarfyddir yn y iaith Gymraeg holl ffurfiau cystrawiad yr iaith Hebraeg; ac a ddengys fod lliaws o ymadroddion *cyfystyr* yn y ddwy iaith, yn gyfansoddedig o'r *un geiriau*.

Heblaw hyn, dywed yr enwog *Dr. Davies*, fod y Gymraeg o ran seiniadaeth a chystrawiad, mor debyg i'r Hebraeg, ac eraill o ieithoedd y dwyrain, fel y gellir ei chyfieithu iddi gyda mwy o rwyddineb, grym, a chywirdeb, nag i un iaith arall, a'i bod yn hyn yn tra ragori ar y Gryw, er ei holl gyflawnder, ac ar y Lladin, er ei holl ardderchawgrwydd.

Hefyd, tystia y Cymro clodwiw, Syr William Jones, yr hwn ydoedd yn rhagori y'mhell ar bawb o'i gydocswyr yn ei wybodaeth o ieithoedd y dwyrain, fod iaith ei hynafiaid yn dwyn agos gyfathrach idd-



Digitized by Google

ynt, a'i bod yn sicr yn deilliaw o'r un gwreiddyn, ac mai ei farn ef ydoedd, na ddichon neb gwbl ddeall yr ieithoedd hyny heb fod yn hyddysg hefyd yn yr iaith Gymraeg.

Byddai yn anmherthynasol i'n testyn, os nid gormod gorchwyl i mi yn bresenol, i nodi allan y tebygolrwydd sydd rhyngddynt yn eu hamrywiol deithi cystrawenol; ond gallaf grybwyll yn fŷr BUMB o ragoriaethau yr Hebraeg ag ydynt yn perthyn i'r Gymraeg.

---

1. Y mae genym yn y Gymraeg ddosparth o berwyddiaid o ystyr *adgyrchiol*, ag ydynt yn perffaith gyfatteb i'r perwyddiaid Hebraeg a dreiglir yn *Hithpâhel*,—y rhai ni ellir eu cyfieithu i'r Saesonaeg a ieithoedd eraill heb gryn gylch-ymadrodd;—megys,

Digitized by Google

| *Lle.* | *Hebraeg.* | *Cymraeg.* | *Saes'neg.* |
|---|---|---|---|
| Gen. 3. 8. | Fäithchabi | Ymguddiodd | Hid themselves. |
| Gen. 9. 21. | Fäithgal | Ymnoethodd | He was uncovered. |
| Gen. 43. 31. | Fäithappac | Ymattaliodd | He refrained himself. |
| Num. 23. 24. | Ithnasso | Ymgyfyd | He shall lift up himself. |
| 2 Sam. 22. 45. | Ithcachashw | Ymddarostyngant | They shall submit themselves. |
| 2 Bren. 17. 17. | Fäithmàcerw | Ynwerthasant | They have sold themselves. |
| Neh. 11. 2. | Hàmithnàdebim | A ymroddasant | That offered themselves. |
| Job 2. 8. | Lehithgorîd | I ymgrafu | To scrape himself. |
| Job 16. 10. | Ithmàlown̂ | Ymgasglasant | Theyhavegather'dthemselvestogether |
| Salm 18. 7. | Fäithgongnashw | Ymsiglasant | Were shaken. |
| Salm 22. 14. | Fehithpordw | Ymwahanasant | Are out of joint. |
| Salm 37. 4. | Fehithgnanag | Ymddigrifa | Delight thyself. |
| Salm 60. 8. | Hithrongnani | Ymorfoledda | Triumph thou. |
| Salm 119. 52. | Föethnechom | Ymgyssurais | I have comforted myself. |
| Esay 8. 21. | Fehithcwatsaph | Ymddigiant | They shall pet themselves. |
| Esay 44. 23. | Ithpäar | Ymogonedda | He hath glorified himself. |
| Esay 59. 6. | Ithcassw | Ymddilladant | They shall cover themselves. |

Digitized by Google

| *Lle.* | *Hebraeg.* | *Cymraeg.* | *Saes'neg.* |
| --- | --- | --- | --- |
| Esay 65. 16. | Hàmithborîc | A ymfendigo | That blesseth himself. |
| Jer. 4. 2. | Fehithborcw | Ymfendithiant | They shall bless themselves. |
| Jer. 4. 24. | Hithcwalcwolw | Ymysgydwent | Moved lightly. |
| Jer. 6. 26. | Fehithpàleshî | Ymdröa | Wallow thyself. |
| Jer. 46. 9. | Fehithholelw | Ymgyndddeiriogwch | Rage. |
| Ezec. 38. 23. | Fehithgàdilti | Ymfawrygaf | I will magnify myself. |
| Ezec. 38. 23. | Fehithcwadishti | Ymsancteiddiaf | I will sanctify myself. |
| Dan. 1. 8. | Lo-ithgöal | Nad ymhalogai | That he would not defile himself. |
| Dan. 10. 12. | Wlhithgnanoth | I ymgystuddio | To chasten thyself. |
| Dan. 10. 21. | Mithchasîc | I ymegnïo | That holdeth. |
| Dan. 11. 6. | Ithchaborw | Ymgyssylltant | They shall join themselves together |
| Dan. 11. 40. | Ithnagach | Ymgornia | Shall push. |
| Hos. 7. 8. | Ithbolal | Ymgymmysgodd | He hath mixed himself |
| Mica 1. 4. | Ithbacwangnw | Ymholldant | Shall be cleft. |
| Mica 1. 10. | Hithpaloshithi | Ymdreigla | Roll thyself. |
| Mica 5. 1. | Tithgodedi | Ymfyddina | Gather thyself in troops. |
| Nah. 3. 15. | Hithcàbedi | Ymlïosoga | Make thyself many. |

Digitized by Google

Yn y berfau crybwylledig, mae y gorair YM Cymraeg, yn *attröawl*, ac yn gwbl gyfystyr â'r *Hith* Hebraeg.

Gellir sylwi hefyd, fod llawer o'r perwyddiaid Cymraeg dechreuawl yn YM, mor gynnwysfawr a darluniadol, nes ydyw bron yn rhy anhawdd gosod allan eu *llawn ystyr*, chwaithach eu *grym* darluniadawl mewn unrhyw iaith arall.—Megis, Luc 17. 6, "Ymddadwreiddia,"—"Be thou plucked up by the root." Er mor ddarluniadol ydyw y iaith Saesneg, nid digon ydyw y *saith* gair a ddefnyddir uchod, i osod allan lawn ystyr yr *un* ferf Gymraeg; ac nid oes arnaf ofn cyfeirio at ddysgedigion penaf yr oes, pan yn dywedyd, fod y ferf Gymraeg yma, yn trosglwyddo meddwl ein Hiachawdwr, gyda mwy o rym a phriodoldeb nâ'r ferf Roeg ei hun—*ecrisotheti*. Y mae yn amlwg oddiwrth hyn, y gellir trosglwyddo i'r Cymry, holl rym a synwyr y berfau Hebraeg yn *Hithpahel*, ynghyd a *berfau-llais-canol* y Roeg, trwy y perwyddiaid Cymraeg a ddechreuant yn YM. Er amlygiad pellach o hyn cyfeiriaf y darllenydd at ychydig anghreifftiau chwanegol o'r "Testament Newydd:"—

"Math. 5. 40. Ymgyfreithio—*Sue at law.*
Ioan 8. 7. Ymuniawnodd—*He lifted up himself.*
2 Cor. 11. 9. Ymgadwaf—*I will keep myself.*
2 Cor. 11. 13. Ymrithio—*Transforming themselves.*
Eph. 4. 23. Ymadnewyddu—*Be renewed.*



Digitized by Google

1 Tim. 2. 12. Ymawdurdodi—*Usurp authority.*
1 Pedr 3. 5. Ymdrwsio—*Adorned themselves.*"

Meddyliaf hefyd, y cynnwys y perwyddiaid hyn, yn fynych, lawn rym ac ystyr y perwyddiaid Hebraeg yn *Hiphil;*—megis, Gwrandaw—*listen;* ond, *ym*wrandaw—*cause thyself to listen.* Gochel—*beware;* ond, *ym*ochel, *cause thyself to beware.* Llosgi—*to burn;* ond, *ym*losgi—*cause thyself to burn, &c.*

Cyfarfyddir cannoedd o'r perwyddiaid hyn yn ysgrythyrau y gwirionedd; ac wrth ystyried eu bod yn cael eu defnyddio mor aml mewn ymddiddanion, areithiau, ac ysgrifenadau Cymraeg, canfyddir yn anocheladwy, eu bod yn chwanegu i raddau anhydraeth at odidawgrwydd ein hiaith, ac o werth ammhrisiadwy i ysgrifenydd Cymraeg.

2. Goddef cystrawen y Gymraeg i ni osod dau, neu ragor o sylwedd-eiriau yn nghyd, yn ol rhëoldrefn *(regimen)* yr Hebraeg, megis,

*Hebraeg.* Debar ish Höelohim.
*Cymraeg.* Gair gwr Duw.
*Saes'neg.* The saying of the man of God.

*Cym.* Pyrth cysgod angau.
*Saes.* The gates of the shadow of death.

*Cym.* Cyssegr preswylfeydd y Goruchaf.
*Saes.* The holy place of the tabernacles of the most High.

*Cym.* Uchder llwch y byd.
*Saes.* The highest part of the dust of the world.

Digitized by Google

*Cym.* Cymmun gwaed Crist.

*Saes.* The communion of the blood of Christ.

*Cym.* Gwrandawydd geiriau Duw, gwybedydd gwybodaeth y Goruchaf, a gweledydd gweledigaeth yr Hollalluog.

*Saes.* He, which heard the words of God, and knew the knowledge of the most High, *and he which* saw the vision of the Almighty.

Mesur oedran cyflawnder Crist.

Amddiffynfa ty duw Berith.

Trwst cwymp muriau dinas Jericho.

Carnau traed meirch byddinoedd brenin Lloegr, &c.

Dyma *chwech* o sylwedd-eiriau yn nghyd, a hawdd defnyddio yn y dull yma, *ddau* chwech, neu ragor, os byddir yn dewis, megis, pereidd-dra sain cynghanedd plethiadau tannau telynau cantorion llys nef nefoedd Duw tragywyddoldeb.

Y mae cystrawiad yr ymadroddion uchod yn eithaf naturiol, ac o ganlyniad, yn rhwydd i'w darllen, am fod pob gair yn cael ei lywodraethu gan yr *agosaf* atto; a diau eu bod hefyd yn dra chynnwysfawr, am fod *pob gair*, yn agor drws *newydd*, i'r meddwl fyned trwyddo i feusydd myfyrdod.

Addefir yn gyffredinawl fod amledd o eiriau tragor, neu gyflawniaid *(expletives)* bob amser yn diddymu grym iaith,—ac nad all dywediad yn cynnwys lliaws o honynt fod byth yn fawreddawg; gan hyny, mae y nodweddiad crybwylledig a berthyn i gystrawiad sylwedd-eiriau Cymreig, yn dra ardderchawg, am ei fod yn galluogi Cymreigydd i ffurfio ei ddywed-

Digitized by Google

iadau mewn modd bŷr, cynnwysfawr, a mawreddawg; ac mewn canlyniad, i draethu ei feddyliau mewn dull grymus ac effeithiol.

3. Gall Cymreigydd yn gwbl unawl â chystrawiad ei dafod-iaith, ddefnyddio dull grymus yr Hebraeg o gadarnhau unrhyw ddywediad trwy *ail-adroddiad.* I egluro hyn, cyfeiriaf y darllenydd at un anghraifft yn unig, sef, Esay 24. 19, 20, "Rongno hithrongnangno höorets; por hithporero erets; mot hithmoteto orets: nöang tonwang erets càshìcor, fehithnodedo camelwno."—"Gan ddryllio yr ymddrylliodd y ddaear, gan rwygo yr ymrwygodd y ddaear, gan symmud yr ymsymmudodd y ddaear. Y ddaear gan symmud a ymsymmud fel meddwyn, ac a ymsigla megis bwth," &c.—"The earth is utterly broken down, the earth is clean dissolved, the earth is moved exceedingly. The earth shall reel to and fro like a drunkard, and shall be removed like a cottage," &c.

Pell ydwyf oddiwrth yspryd i feïo er mwyn beïo, etto rhy anhawdd genyf fyned heibio, heb grybwyll yma, fod y cyfieithiad Saes'neg yn wàn a chloff, mewn cydmariaeth â'r Cymraeg; ac nad ydyw cyfieithiad Groeg y 'deg-a-thrugain,' na'r cyfieithiadau Lladinaidd rhagoraf, nemawr gwell. Nid wyf chwaith am herio neb, ond cymmeraf genad i ofyn yn ostyngedig i ieithyddion yr oes, Pa iaith a fedr roddi i ni gyfieithiad mor lythyrenol, mor rymus, ac

Digitized by Google

mor fawreddawg, o'r adnodau uchod a'r cyffelyb, ag ydyw y cyfieithiad Cymraeg?

4. Gelllr ffurfio *tardd*-eiriau o *wreidd*-eiriau yn y Gymraeg gyda llawn mwy o rwyddineb nag yn yr Hebraeg, a gwneuthur pob sylwedd-air o'r bron yn ansoddair, neu berwyddiad; a hyny yn eithaf rhwydd a rhëolaidd. Canfyddir ychydig o ardderchawgrwydd y Gymraeg yn yr ystyr grybwylledig, yn yr anghreifftiau canlynawl;—

| | |
|---|---|
| "Ni logais ac ni logwyd i mi. | "I have neither lent on usury, nor have men lent to me on usury. |
| Ysglyfaethu ysglyfaeth. | Catch the prey. |
| A phan gynhauafoch gynhauaf eich tir. | When ye reap the harvest of your land. |
| Egined y ddaear egin, sef llysiau yn hadu hâd. | Let the earth bring forth grass, the herb yielding seed. |
| Ffrwythwch ac amlhewch. | Be fruitful and multiply. |
| Eiddigeddais eiddigedd mawr dros Sïon. | I was jealous for Zion, with great jealousy. |
| Distawa ger bron yr Arglwydd. | Hold thy peace, at the presence of the Lord. |
| Gwisgant wisgoedd lliain. | They shall be clothed with linen garments. |
| A'r eurych a'i goreura. | And the goldsmith spreadeth it over with gold. |
| Caethgludaist gaethiwed. | Thou hast led captivity captive. |
| Nes i'r hon a esgoro esgor. | Until she which travaileth hath brought forth. |

Digitized by Google

| | |
|---|---|
| Esgoreddfa'r plant. | The place of the breaking forth of children. |
| Paraf i'r anmhlantadwy blanta plant, ond yr hon a blantodd blant a ddiblentir. | I will cause the barren to bring forth children, but she that hath brought forth children, shall be bereaved of her children. |
| Anolrheinadwy. | Past finding out. |
| Cyd-ymfoddloni. | Have pleasure in them. |
| Y gwael a ymfalchïa. | The base shall behave himself proudly. |
| Ymesgusodant | They made excuses, or excused themselves. |
| Ynfydion i ynfydu. | Madmen, to play the madman |
| ~~Ni ddieuoga~~ | ~~He will not render guiltless.~~ |
| Braenerwch fraenar. | Break up your fallow ground |
| Muriaf fur. | I will make a wall. |
| Gan butteinio a butteiniodd. | Hath committed great whoredom. |
| Dyfroedd nofiadwy. | Waters to swim in. |
| Cymer it' ellyn eillio, ac eillia dy ben. | Take thee a barber's razor and cause it to pass over thine head. |
| Cydymgrymant. | They shall bow themselves down together. |
| Cydymnesasant fel y cydymgynghorent. | They caused themselves to draw nigh together that they might take counsel together. |
| Hyd oni phenwynoch. | Even to hoar hairs. |
| Yn eu llochesau, dan y brysglwyni, yr ymgydlechant. | In the secret places, under the bushes, they hide themselves together. |

Digitized by Google

| | |
|---|---|
| Llwydrewodd a chydwywodd y gwyrddlysiau. | The hoar frost came over the green herbs and they withered together. |
| Ymgrymant, llydnant, ac ymadawant a'u gofid. | They bow themselves, they bring forth their young ones, and they cast out their sorrow. |
| Cydborant ynghilfachau y mynyddoedd. | They eat grass together in the innermost parts of the mountains. |
| Ei emau a gydymgysylltant. | His scales stick themselves fast together. |
| Nid ymdorir, ac nid ymfoelir drostynt. | Neither shall men cut themselves, nor make themselves bald for them. |
| Ymlithrodd oddiyno. | He separated himself thence. |
| Ymgasglodd yr encilwyr. | The men that fell away gathered themselves together. |
| Mudwyr a'i mudant hi. | Wanderers shall cause her to wander. |
| Preswylferch Dibon. | Thou daughter that dost inhabit Dibon. |
| Meddwch hi fel yr ymdrybaeddo, canys ymfawrygodd, &c. | Make ye her drunken, until she wallow herself, for she hath behaved herself proudly, &c. |
| Nid all ymlochesu. | He shall not be able to hide himself in his lurking place. |
| Pallodd nerth cedyrn Babylon, ac aethant yn wrageddos. | The might of the mighty men of Babylon hath failed, and they became as women. |
| Braich y cadarn a ddinerthwyd. | The arm of the mighty one is gone without strength. |

Digitized by Google

| | |
|---|---|
| Meddwi ac ymnoethi. | Thou shalt be drunken and shalt make thyself naked. |
| Hi a ymddieithria. | She shall feign herself to be another woman. |
| A anelo ei fwa aneled yn erbyn yr hwn a ymddyrchafo yn ei lurig. | He that bendeth his bow, let him bend against him that lifteth himself up in his brigandine. |
| Ymroisant i drythyllwch. | They have given themselves over unto lasciviousness. |
| A ymnertha yn nerth Pharao a ddinerthir. | He that strengtheneth himself in the strength of Pharaoh shall become without strength. |
| Ymlwythasant. | They have burdened themselves. |
| Ei chanol a olosgwyd. | The midst of it is burned. |
| Nid gogyhyd esgeiriau y cloff. | The legs of the lame are not equal. |
| Gogyfuwch a Duw. | Equal with God. |
| Cyfuwch â'r nefoedd. | As high as the heavens. |
| Cyfoedion. | Equals. |
| Boliau gorddiog. | Slow bellies. |
| Gwag-ogoneddgar. | Desirous of vain glory. |
| Gorddyfnderau. | Deep places. |
| Ac a'i llindagodd. | And took him by the throat. |
| Fy enaid gan ymderfysgu a ymdywallt. | My soul is disquieted and is poured out. |
| Y galon a ymchwyddo. | The heart which is lifted up. |
| Ymannog i gariad. | Provoke unto love. |
| Er it' ymolchi mewn llaeth, ac ymiro ag olew, ac ymeneinio â'r myrr diferol; | Though thou hast washed thyself in milk, and hast smoothed thyself with oil, and hast anoint- |

Digitized by Google

ïe, er it' ymwisgo â sidan, ac ymdrwsio ag aur, ac ymharddu â'th dlysau, ofer it' ymdecau; dy gariadau a'th ddiystyrant."

ed thyself with sweet smelling myrrh; yea, though thou hast clothed thyself with silk, and hast decked thyself with gold, and hast adorned thyself with thy jewels, in vain shalt thou make thyself fair; thy lovers will despise thee."

5 Gellir cyssylltu arddodiaid a rhagenwau yn y Gymraeg, fel yn yr Hebraeg: megis arnaf, arnat, arno, arni, arnom, arnoch, arnynt; attynt, erddynt, hebddynt, iddynt, ynddynt, wrthynt, ganddynt, trwyddynt, rhagddynt, rhyngddynt, trostynt, tanynt, odditanynt, oddiarnynt, oddiwrthynt, &c.

Meddyliaf yn ostyngedig, fod y crybwylliadau uchod yn teilyngu sylw y dysgedig a'r ymofyngar; ac nid allaf lai na rhyfeddu wrth weled pleidwyr y Gymraeg mor ddisylw o honynt. Arddangosant ychydig o deithi mawreddawg—o rym mynegiadawl, ac o berffeithrwydd cystrawenawl ein hiaith; a meddyliaf fod ystyriaeth ddiduedd o honynt, yn ddigon i ddistewi gwrth-gymreigwyr. Addefaf yn rhwydd i'm meddwl fy hun gael llawer o hyfrydwch wrth sylwi ychydig arnynt, a hyderaf y caf lawer mwy os rhoddir i mi einioes a chyfle i gyrhaedd adnabyddieth helaethach o'r hybarch iaith Hebraeg.

Yr wyf yn deall fod amryw o ragoriaethau eraill yr Hebraeg yn perthynu i Iaith Gomer, a buasai dda



Digitized by Google

genyf pe meddaswn amser a medr i'w crybwyll yn yr ysgrif hon; ond rhaid i mi eu gadael yn bresenol rhag cyfeiliorni. Eithr hyderaf y bydd i ryw Ieithydd cyfarwyddach na mi, gymeryd y gorchwyl yn llaw, ac anrhegu ei gydwladwyr â sylwadau manwl a helaethion ar hyn; canys dïau genyf, y byddai hyny yn wasanaeth o bwys i achos dysgeidiaeth.

Gallwn sylwi y'mhellach, fod TRI o brif ragoriaethau y ROEG, yn perthynu i'r Gymraeg. Fel yr iaith honno, y mae yn nodedig o ran ei CHYFLAWNDER—o ran ei GALLU DARLUNIADAWL—ac o ran AMLEDD A CHYWREINRWYDD ei CHYSSYLLT-EIRIAU.

1. Cynnwys y Gymraeg gyflawnder braidd diddiffyg o'r geiriau cryfaf ac addasaf i osod allan amgyffredion y meddwl. Addefir nad all fod dim yn fwy rhwystrus mewn iaith, na diffyg geiriau i amlygu y meddyliau. Byddai y dyn mwyaf awenyddgar a chryfaf ei gynheddfau wrth geisio ysgrifenu, areithiaw, neu farddoni mewn iaith ddiffygiol o barth geiriau, yn debyg iawn, fel y dywedodd un, i redegydd yn ceisio cyflymu ei redfa a'i draed yn rhwym mewn gefynau heiyrn; neu, fel eryr yn ceisio ymgodi hyd y cymylau, a'i edyn yn dòredig. Ond ni raid i awenyddion *Cymru* gwyno yn yr ystyr yma. Rhifir o gylch *wyth mil* o berwyddiaid anghyfansawdd yn yr iaith Gymraeg, a gellir cysylltu wrth bob un o honynt, *ugain* o wahanol flaen-ddodiaid i arddangos eu

Digitized by Google

hamrywiol nodweddiadau o barth amser a gweithrediad. Trwy hyn fe'u llïosogir i *wyth ugain o filoedd*, a phan eu treiglir drachefn, mewn *pump* o wahanol foddau, bydd eu rhif yn llawn WYTH CANT O FILOEDD. Er prawf pellach o hyn, cymeraf genad i grybwyll y gellir rhifo o leiaf *gan' mil* o eiriau Cymraeg yn ein geiraduron, a ffurfio miloedd lawer yn rhagor, os bydd angen, a hyny nid o wreiddiau *estron*-ieithoedd, ond o wreiddiau Cymraeg. Mewn gair, y mae mor gyfoethawg o eiriau, a defnydd geiriau, fel y gall y mwyaf meddylgar ac awenyddgar drosglwyddo ei feddyliau ar bob achos, mewn dull manwl, gweddus, a grymus.

Dichon y dywedir gan *rai*, y byddai yn rhy anhawdd i Gymreigydd yn bresennol, ysgrifenu yn fanylaidd ar rai o'r celfyddydau a'r gwybodaethau breiniawl, heb lawer o anhawsdra, oblegyd na feddwn nemawr o lyfrau ar y cyfryw destynau yn ysgrifenedig yn yr Iaith Gymraeg; ac mae yn debyg fod hyn yn cael ei ystyried gan y cyfryw, fel gwrthddadl o bwys yn erbyn y Gymraeg. Ond credaf nad oes un *sylfaen* i'r wrthddadl, a rhaid o ganlyniad nad oes dim *grym* ynddi.

Dywed y dysgedig Dr. Ioan Dafydd Rhys, yn ei grynodeb o athroniaeth *Aristotle*—yr hwn a welir mewn ysgrifen yn Llyfr-gell Coleg Iesu yn Rhydychain—fod y Gymraeg mor gyflawn, ac mor gyfaddas i egluro ymadroddion athronyddawl ag ydyw y

Digitized by Google

Groeg neu unrhyw iaith arall. Ond os byddai braidd yn anhawdd i Cymreigydd ysgrifenu ar y cyfryw destynau, y mae yr ychydig anhawsdra yma yn codi oddiar yr *esgeulusdra* dirmygus a gafodd yr iaith, ac nid oddiar un *diffyg* ynddi ei hun. Ychydig goleddiad a symudai yr holl anhawsdra, ac a gyflawnai yr holl ddiffyg; oblegyd, mae y Gymraeg mor dra ardderchog o ran ei thrylen athrylith "fel y galler ffurfio o'i gwreiddiau bob amgyffrediad ag a ddichon meddwl dyn ei ddychymygu; ac adrodd yn hyfedr, ac yn hyall, ac yn hyddysg, ac yn hynaws, bob peth ar a allo y meddwl a'r bryd ei ddychymyg; a'i seldremu, a'i selweddu, a'i lunio, a hyny yn llawn nerth a nwyf, heb ynddi na lledryw na llediaith, na dim o'r cyfryw.

2. Y mae y Gymraeg fel y Roeg yn dra ardderchog o ran ei GALLU DARLUNIADOL, sef ei chyfaddasrwydd i amlygu pob amgyffrediad yn y dull mwyaf *priodol* a *naturiol*.

Anhawdd genyf feddwl y gellir darllen cyfieithiad rhagorawl y Dr. Puw o '*Milton's Paradise Lost*.' Cywydd y Farn Fawr,' a chyfieithiad bŷr gorchestol ail awdl '*Anacreon*,' gan Goronwy Owain. 'Cywydd y Diluw,' &c. gan D. Ionawr. Yr 'Awdlau ar Elusengarwch.' Y 'Powysion.' 'Awenau Gwent a Dyfed.' 'Gweledigaethau y Bardd Cwsg,' &c. a sylwi ar gyfansoddiadau Huw Morris, Gwallter Mechain, Daniel Ddu, Iolo Morganwg, Gomer,

Digitized by Google

Ieuan Ddu, Dr. Lewis, Thomas Charles, ac eraill, heb ganfod gor-ragoroldeb y Gymraeg yn yr ystyr rag-grybwylledig. Buasai yn hawdd i ni osod ger bron luaws o ddyfyniadau o amrywiol draethodau a chyfansoddiadau barddonawl, fel rhag-brofion o'i *gallu darluniadawl*, ond dichon y byddai yn fwy teg a buddiol i ni gyfeirio y darllenydd at ychydig ranau o'r cyfieithiad rhagorawl sydd genym o ysgrythyrau y gwirionedd, yr hwn sydd yn nghyraedd pob un sydd am chwilio yn ddiduedd, a barnu drosto ei hun.

Pe le y cyfarfyddir iath gyfaddasach a phrïodolach i natur y testynau a drinir gan yr ysgrifenwyr, na'r iaith gynnwysedig yn y Beibl Cymraeg? Yn y darluniadau a roddir i ni o natur y Jehofah, a gogoniant ei ymddangosiad, y mae yr iaith yn oruchel a mawreddawg. Gwel. Exod. xv. 1—18. Deut. xxxii. 2—43. Salm xviii. 1—18 Esay xl. 10—28, ac lvii. 15. Amos iv. 13. Hab. iii., &c.

Pan y darlunir adfeiliad a chwymp dinasoedd—ymderfysgiad a dadymchweliad teyrnasoedd—ynghyd â drylliad dinystriol naturiaeth, y mae yr iaith megis yn drystfawr a dychrynllyd. Gwel 2 Pedr iii. 9, 10. Dat. vi. 14—18. Esay xxiv. Jer. l., a'r bènod ganlynawl. Llyfr y prophwyd *Nahum*, &c.

Pan yr arddangosir harddwch y Messiah—gogoniant ei deyrnasiad—a thangnefedd ei frenhiniaeth, y mae yr iaith yn fwyn-felus a hyfrydlawn. Gwel Esay xi. xii. xxxv., &c.



Digitized by Google

Pan yr annogir pechaduriaid hunan-ddinystriol i dderbyn bendithion yr iachawdwriaeth, a phan eu gwahoddir i gyfranogi o wleddoedd yr efengyl, y mae yr iaith yn feddalfwyn a dengar. Gwel Salm xxxiv. 8. lxxxi. 10—12. Deut. xxxii. 29. Diar. i. 23. ix. 4, 5. xxiii. 26. Can. v. 1, 2. Esay l. 18. lv. 1, 3, 7, &c.

Mewn adroddiadau hanesiol, y mae yr iaith yn rhwydd a naturiol, ac eto heb fod yn isel nac oeraidd, yr hyn a welir yn dra amlwg yn ysgrifeniadau hanesyddawl efengylwyr ac apostolion Crist.

Mewn ymresymiadau y mae y iaith megis yn fywiog a hylym, etto yn ddwys-daer a phwysig. Gwel. Diar. i. 22. Ezec. xxxiii. 11. Esay lv. 2, &c.

Mewn galarnadau, y mae y iaith yn doddawl, ac yn dra chynhyrfiol—pob gair fel ochenaid yn seinio yn drymaidd, ac yn suddo i'r galon. Gwel. Jer. ix. 1., a Llyfr y Galarnad.

Goddef y Gymraeg hefyd i ysgrifenydd medrus ddilyn holl dröadau a moddau ymadrodd i'r pellafoedd eithaf, a hyny heb fyned yn afrwydd na gwrthun. Cyfarfyddir aml *draws-enwad—a chyforddwyn—ac eiddileb—a gormodiaith—a gwawd-iaith—a thraws-symudiad—ac aralleg* tra chywrain ac ardderchog yn yr ysgrythyrau sanctaidd.

Gall Cymreigydd hefyd eirio pob *dull* o ddywediad yn eithaf grymus, rhwydd, a naturiol. Megis dywediadau o anerchiad, o ymofyniad, o ammheuaeth, o gerydd, o attaliad, o gydsyniad, o ymresymiad, o ail-ad-

Digitized by Google

roddiad, o gylch-ymadroddiad, o ansodiad, o grochlefiad, o draws-symudiad, o radd-ieithiad, ac o derfyniad.

Mewn gair, wrth chwilio ein Beiblau, wrth ddarllen ein cyhoeddiadau cylchynawl, wrth sylwi ar lyfrau a thraethodau eraill, wrth wrando areithiau Cymraeg, a gweled neu glywed *un* yn medru amlygu ei feddwl mewn modd byr a chynhwysfawr, *arall* mewn modd helaethlawn ac yn ddibrin ei eiriau—*un* mewn modd troellawg a dyryslyd, *arall* mewn modd rhwydd a llyfn—*un* mewn modd arafaidd a thrymaidd, *arall* mewn modd hylym a bywiog—*un* mewn iaith isel a chyffredin, *arall* mewn iaith rymuslawn a mawreddawg—un mor ddigrif ac *Aristophanes,* arall mor gein-dlws a *Philemon* neu *Menander*—un mor gariadlawn a *Mimnermus* neu *Sappho,* arall mor wledig-naturiol a *Theocritus* neu *Bion*—un mor gynhwysfawr ag *Aristotle,* arall mor flodeuog a *Xenophon*—un mor fanwl-gywrain ag *Isocrates.* ac arall mor hyawdl-rymus a *Demosthenes*—canfyddir yn anocheladwy, a chesglir yn naturiol, fod y Gymraeg yn gyfoethawg o eiriau, ac yn dra ardderchawg o ran ei gallu mynegiadawl; a'i bod fel y dywedodd y diweddar Barch. Thomas Charles, "Yn odidawg, yn bur, yn gyflawn hynod o amrywiaeth geiriau, ac ymadroddion; yn bêrsain ac addurnedig; yn neillduol addas i ymadroddi am bethau ysprydol yn fawredig, yn ddealladwy, ac yn effeithiawl. Mae yn syml, heb fod yn isel; yn hŷ, heb

fod yn ddigywilydd; yn addurnwych, heb gymhendawd; yn gydseiniawl, heb fod yn orwag; yn ardderchawg, heb chwyddiaith; yn dyner, heb fursendod; ac yn gryf, heb erwindeb."

3. Mae y Gymraeg fel y Roeg yn meddu amledd diderfyn o gyssyllt-eiriau godidawg.

Dywed y *Dr. Davies*, nad oes un iaith yn gyfoethocach o eiriau *tarddiol* a *chyfansawdd*. Dywed y dysgedig *Humphrey Pritchard*, yn ei ragymadrodd i Ieithadur y Dr. Ioan Dafydd Rhys, fod ei chyssyllt-eiriau mor aml, rhwydd a naturiol, fel nad allai neb byth ddymuno cyfrwng gwell i osod allan ei adnabyddiaeth o'r celfyddydau a phethau eraill. Ac amrai ddysgedigion eraill a dystiant, ei bod yn gor-ragori ar y Groeg ei hun o ran amledd, cywreinrwydd a gallu mynegiadol ei chyssyllt-eiriau.

Canfyddir yn amlwg fod ein perwyddiaid, ein hansawdd-eiriau, a'n sylwedd-eiriau *cyfansawdd* yn rymus, yn gywrain, ac yn ddarluniadol, ond sylwi ychydig ar y geiriau canlynawl:—*Llwyr-lanhau—dwys-bigo—dyfal-wrando — cyd-ymgynnull— cam-attal — croch-lefain — dyfn-geisio—rhag-efangylu —rhagor-amlhau- -cylch-arwain—gwrth-ddywedyd —rhag-ddarbod — traws-feddiannu — trais-fyddinoedd — cyd-gynnulliad—poethwynt—preswylferch —terfyn-gylch — gor-wel—deufor-gyfarfod—cyd-wladoldeb —rhag-ddarbodus—trais-feddiannedig—croch-lefawl—poeth-wyntawg*, &c. Rhag y cy-

huddir fi o wneuthur dyfyniadau afreidiol, ac o ddirmygu estron-ieithoedd, gadawaf y gorchwyl difyr-lawn o gyfieithu y geiriau uchod i ieithoedd eraill i'r darllenydd, gan fod yn hyderus na fedr wneuthur hyny heb ganfod rhagoroldeb yr iaith Gymraeg. Yr wyf wedi crybwyll eisoes am *amledd blaenddodiaid* yn y Gymraeg, a rhy anhawdd genyf adael y sylw hwn, heb osod ger bron *un* anghraifft i arddangos eu *grym* a'u *cynnwysder* hynodawl mewn geiriau cyfansawdd:

| | |
|---|---|
| Lled | Breadth or expansion. |
| Cyfled | Of equal breadth. |
| Gogyfled | Partly of equal breadth. |
| Diögyfled | Not being partly of equal breadth. |
| Amledu | To expand about. |
| Goamledu | Partly to expand about. |
| Cydamledu | To expand about mutually. |
| Goramledu | To expand about extremely. |
| Diamledu | To cease expanding about. |
| Tryledu | To expand through. |
| Ymledu | To spread one's self. |
| Cydymledu | To expand themselves mutually. |
| Ymddyledu | To be mutually expanding. |
| Lledu | To spread or expand. |
| Gorledu | To overspread. |
| Ymorledu | To overspread one's self. |
| Dadymledu | To unexpand one's self. |
| Adymledu | To re-expand one's self. |
| Arledu | To expand upon. |
| Arymledu | To spread one's self upon." |

Digitized by Google

Meddyliaf y gellir penderfynu yn naturiol, fod y rhagoriaethau crybwylledig yn mynych alluogi Cymreigydd i ffurfio ymadroddion mwy grymus—mwy cynhwysfawr—a mwy addurnedig na nemawr o'i gymmydogion.

Gor-ganmolir crynodeb, cynnwysder, ac arucheledd *byr-ymadroddion* y Ladiniaith;—ond erfyniaf genad i ofyn, Pa iaith all arddangos mwy o aruchel-edd a chryno-gynhwysder, na'r ymadroddion canlynol,—"Bydded goleuni." "Ymddangosed y sychdir." "Egined y ddaear egin." Eheded ehediaid." "Dywedodd 'Bydded' a bu." "Na ladd." "Erlidiaf, goddiweddaf, a rhanaf yr yspail." "Cyfoded Duw, gwasgarer ei elynion, a ffoed ei gaseion o'i flaen." "Heb Dduw, heb ddim." "Ach Duw, yr ach oreu." "Gair gwr Duw." "Tra mor, tra Brython." &c.

Byddai yn hawdd i'r darllenydd gael amlygiad boddlonawl o ardderchawgrwydd y Gymraeg yn yr ystyr yma, ond darllen yn ystyriol ysgrifeniadau Moesen, Dafydd, Selyf, ac Esay; a sylwi ychydig ar ein diarhebion Cymraeg.

Gyda golwg ar *berffeithrwydd ieithadurol* yr iaith Gymraeg, byddai yn hawdd i ni sylwi ar sain ei llythyrenau, y rhai ydynt bob *amser* yn gofyn y seiniau priodol a berthyn iddynt. Ar aceniad sefydlog a rheolaidd ei geiriau. Ar gynnwysder terfyniadau ei pherwyddiaid; yn y rhai y cyfarfyddir y

Digitized by Google

rhan amlaf, *amser*, *rhif*, *modd*, ac *enwedigaethydd* y ferf. Ar amledd terfyniadau ei hansawdd a'i sylwedd-eiriau; o ba rai y mae *un-ar-hugain* o derfyniadau lliosawg; *wyth* o derfyniadau y mathau; ac amryw derfyniadau *bychanigawl*, megis, *an*, *os*, *ach*, *yn*, *ig*, *ain*, *ws*, *en*, &c. Gwreig*an*, plant*os*, dynion*ach*, bachen*yn*, morwyn*ig*, meibion*ain*, min*ws*, oen*en*, &c. Y mae *ychydig* derfyniadau bychanigawl yn perthyn i'r Eidalaeg, i'r Ffrangaeg, a'r Lladin, ac ystyrir eu bod bob amser yn chwanegiad nid bychan at gywreinrwydd a gogoniant yr ieithoedd hyny; ond gellir tystio fod y Gymraeg yn yr ystyr yma, yn *llawer* cyfoethocach nag un o honynt.

Hynod fanwl a chywrain hefyd ydyw y gwahaniaethiad, a fynych amlygir yn ei *rhagenwau*, o barth dynsawd a sefyllfa, y rhai nid ellir eu cyfieithu i ieithoedd eraill, heb gylch-ymadroddiad tywyll ac anystwyth;—megis

| | |
|---|---|
| Hwn | This male. |
| Hon | This female. |
| Hyn | This thing. |
| Hwna | That male present. |
| Hona | That female present. |
| Hyna | That thing present. |
| Hwnw | That male absent. |
| Hono | That female absent. |
| Hyny | That thing absent. |

Digitized by Google

| | |
|---|---|
| Hwnyma | This male here. |
| Honyma | This female here. |
| Hynyma | This thing here. |
| | |
| Hwnyna | This male there. |
| Honyna | This female there. |
| Hynyna | This thing there. |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Minnau, | I also; | Tithau, | Thou also; |
| Yntau, | He also; | Hithau, | She also; |
| Ninnau, | We also; | Myfinnau, | I myself also; |
| Tydithau, | Thou thyself also; | Nyninnau, | We ourselves also. |

Y mae hefyd yn nodedig o ran amledd ei geiriau cyfodlaidd, a chyd-darawiad llythyrenau, yr hyn mewn cysylltiad â'r hyn a grybwyllwyd o'r blaen, sydd yn ei haddurno ac yn ei hardderchogi i raddau anhydraeth, mewn *perffeithrwydd ieithadurawl*, gan wneuthur ei barddoniaeth yn felys-ber a chynghaneddawl, a'i hareithyddiaeth yn rymuslawn ac effeithiol. Y mae ardderchawgrwydd ei chynghanedd mewn barddoniaeth yn *ddihareb*, a gellir dywedyd am dani y'ngeiriau y bardd,

"Rhifir ei cherdd yn rhyfedd,—mae'n eiliaw
Manylwaith cyfrodedd:
P'le ceir iaith, a gwaith deg wedd,
Yn unodl â'i chynghanedd?"

Ond yr wrthddadl benaf a lunir yn erbyn y Gymraeg, ydyw, ei bod o ethryb lliosawgrwydd ei

Digitized by Google

chydseiniaid, a gerwindeb seiniau yr *ll* a'r *ch*. yn afrwydd i'w darllen, ac yn anfelys i'w gwrando. Ond y mae yr wrthddadl hon, bob amser, yn sylfaenedig ar *anwybodaeth*, neu *ragfarn*, neu ynte ar y diffyg o draethu yr iaith yn ei sain naturiol ei hun. Ynfyd i neb godi ei lais yn erbyn seiniau yr *ll* a'r *ch*, i geisio dangos eu bod yn annaturiol, gan fod myrddiynau yn medru eu seinio yn ddiboen, rhwydd a naturiol. Sain yr *ch* Gymraeg, mewn rhan fawr, ydoedd yn grymusaw ac yn effeithioli areithiau *Demosthenes*, a cherddi arwraidd *Homer*. Yr achos o rym darluniadol y geiriau "*istia de sphin Trichtha te cai tetrachtha dieschisen is anemoio*," ydyw sain yr *ch* Gymraeg, a hyn yn unig ydyw'r achos o'r gor-ganmoliaeth a roddir iddynt. Dilys genyf na buasai *Demosthenes* yn gwerthu ei *ch* am gyfoeth Athen, a bod *Homer* yn ei hystyried yn werthfawrocach na holl gyfoeth Caerdroia. Meddyliaf hefyd mai llai colled fyddai difodi y ddwy frasaf o dair-sir-ar-ddeg Cymru, na dileu yr *ll* a'r *ch* o'r egwyddor Gymraeg.

Gellir profi hefyd trwy *ffeithiau*, fod yr wrthddadl grybwylledig wedi ei sylfaenu ar *ragfarn a balchder*. Cymeraf genad i adrodd *un* er prawf o hyn.

Digwyddodd cyfaill i mi, fod unwaith mewn cyfeillach, lle nad oedd ûn Cymro ond ei hunan; a gofynwyd iddo fod mor hynaws a thraddodi ychydig ymadroddion Cymraeg. Cydsyniodd yntau. Tynodd

lyfr Cymraeg o'i logell, a dechreuodd ddarllen. "O meddai ei gyfeillion, gadewch i ni *weled* y llyfr. Pan agorasant y llyfr dechreuodd y rhianod ag oeddynt wedi bod yn dysgu y Ffrangaeg chwerthin, a dywedyd, "O, my goodness, what a barbarous language, why, there is nothing but consonants." Ar hyny, wedi cynhyrfu ychydig, dywedodd yntau, "Nid oes yma yn agos gynifer o gydseiniaid ag sydd mewn tu dalen o'r un maintioli, mewn llyfr Ffrangaeg: ac heblaw hyn, y mae genym brydyddiaeth yn gynnwysedig yn unig o lafariaid, yr hyn sydd yn analluedig i'ch holl Feirdd chwi, pe byddai i *Southey*, a *Byron*, a *Scott*, a *Moore*, a *Campbell*, a *Wordsworth* i uno eu cynheddfau ynghyd dros gan mlynedd. Yna ysgrifenodd iddynt yr Englyn canlynawl *I'r prif coppyn*.

"O'i wiw wy i weu e' â; o'i wyau,
Ei wëau, a weua;
E' weua ei we aua;
A'i wëau yw ieuau iâ.

Pan welsant yr englyn y sylw gyntaf a wnaethant oedd,—"But it *looks* so barbarously." Atebodd yntau. "Gwelaf eich bod yn penderfynu beio, ac y mae hyn yn dwyn ar gof i mi ddwy linell a welais yn iaith yr Eidal,"

"Mil o leisiau melysion,
Mel o hyd y'mola hon."

Digitized by Google

"Now *there,* meddent hwythau, that is what *we* would call a fine, easy, cultivated language." "And that fine, easy, cultivated language, meddai yntau, is down right real Welsh."

Ond er cael prawf cywirach a mwy boddhäol o hyn, rhifodd yr ysgrifenydd y llafariaid cynnwysedig yn ngweddi yr Arglwydd, mewn deuddeg o wahanol ieithoedd, a dichon mai nid annifyr gan y cywrain fyddai darllen y cynnyrch. Cynnwysa y—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Roeg | 174 | Spaenaeg | 130 |
| Eidalaeg | 145 | Isellmynaeg | 112 |
| Ffrangaeg | 142 | Arabaeg | 102 |
| Gymraeg | 138 | Saesonaeg | 100 |
| Tyrciaeg | 136 | Persiaeg | 99 |
| Lladin | 135 | Ellmynaeg | 92 |

Gellir barnu yn ol y cyfrif uchod fod y *tair* iaith a nodwyd *gyntaf,* yn rhagori ar y Gymraeg yn yr ystyr grybwylledig; ond dywed ieithydd cyfarwydd, yr hwn a gymerodd drefn *fanylach* na'r eiddo fi i egluro hyn, fod anwastadrwydd nid bychan yn y Roeg a ieithoedd eraill mewn perthynas i amledd llafariaid—fod ambell i du dalen yn cynnwys bron ddau cymaint a thu dalen arall o'r un maintioli, ac y canfyddid, ond gwneuthur cyfrif gwastad a diduedd, fod y Gymraeg yn hyn, yn teilyngu y flaenoriaeth. Ei drefn *ef* ydoedd rhifo mewn gwahanol ieithoedd, pa sawl llafariad a gyfarfyddai am bob *cant* o gydseiniaid; a chafodd yn y

Digitized by Google

| | | | |
|---|---|---|---|
| Gymraeg | 100 | Ffrangaeg | 78 |
| Roeg | 95 | Ellmynaeg | 74 |
| Spaenaeg | 92 | Isellmynaeg | 66 |
| Eidalaeg | 88 | Saesonaeg | 61 |
| Lladin | 86 | | |

Tra ynfyd, gan hyny, ydyw ceisio sylfaenu yr wrthddadl yma ar *amledd cydseiniaid* yn y Gymraeg, canys y mae trefniant treigliad ei llythyrenau cyfnewidiol mewn gwahanol gyssylltiadau yn fwy manwl a chywrain, ac etto yn fwy naturiol a rhëolaidd nac mewn un iaith arall.

Y mae yn wir, fod y llythyrenau Hebraeg a eilw Llythyregyddion, *Begad Kephath*, yn *arw*-seiniawl pan yn cynnwys y *Dagesh*, ac yn *feddal*-fwynach pan hebddo. Gwir hefyd, fod *dau* gyfnewidiad sain yn perthyn i *p*, c, *t*, yn y Groeg; ond y mae *naw* o gydseiniaid y Gymraeg yn gyfnewidiol, sef, *b*, *c*, *d*, *g*, *ll*, *m*, *p*, *rh*, *t*; a threfn eu cyfnewidiad yn ëangach a chywreiniach, nag eiddo y Gryw na'r Hebraeg, ac y mae yn tueddu yn fawr i wneuthur y darlleniad yn rhwydd, a'r sain yn felysber.

Y mae yn rhy amlwg hefyd, mai y rhai mwyaf anwybodus o egwyddorion a rhagoriaethau ieithoedd, ydynt yn codi eu lleisiau fynychaf ac uwchaf yn erbyn y Gymraeg. Ardystiodd yr enwog *Robert Hall* o Gaerbier, er mai Sais ydyw, na fynai am agos yr holl fyd, i'r iaith Gymraeg ddarfod am dani; y byddai hyny yn golled o bwys i achos dysgeidiaeth.

Digitized by Google

Y dylai pob dyn o gydwybod, gynal iaith ei wlad, ac y dylid ystyried hyny y peth nesaf at grefydd. Dywed awdwr athrylithgar "Y Llythyrau o'r Wyddfa," er ei fod yn bell iawn oddiwrth fod yn bleidiol i'r Gymraeg—"Fod ei hamrywiaeth, ei chyflawnder, a'i chynghanedd bron yn anghydmarol, a'i bod yn meddiannu meddal-fwyneidd-dra yr Eidalaeg, yn gystal a grym darluniadawl y Roeg. Awduron dysgedig yr "*Universal History*," a ardystiant "fod ei barddoniaeth a'i hareithyddiaeth, pan roddir iddynt y sain gynnwynawl, diledach, a naturiol a berthyn iddynt yn felysfwyn a pherseiniawl."

Dywed y dysgedig Anselm Bayley, er mai *Sais* ydoedd, "Nid oes mae yn debyg un iaith yn *Europe*, yn awr mewn bod, wedi myned dan lai o gyfnewidiad na iaith yr hen Frutaniaid, a elwir *Cymraeg:* yr hyn yn amlwg sydd i'w gyfrif i'w dieithrwch i genedloedd eraill. Y dynion a fynynt ddifetha yr iaith odidog hon, trwy geisio atal yr arferiad o honi, yn ddiamau rhaid meddwl na phrofasant erioed yr ymsyniadau a'r cyfarwyddiadau a darddant o adchwiliad i wir hynafiaeth.

Dywed yr awenyddgar a'r hyawdl Esgob Heber, "Er nad wyf fy hun yn Gymro, eto ni fedraf anghofio fod adnabyddiaeth o iaith a helyntoedd y Cymry o bwys nid bychan i ieithydd a hynefydd, gan mai hwy yn *gyntaf* a boblasant ororau ëangaf a brasaf *Europe*, a chan iddynt osod eu nôd, a gwneud



Digitized by Google

eu hôl ar bob man enwog o *Caucasus* i *Denmark*. Ond pe byddai yr iaith Gymraeg yn *llai* ei hynafiaeth, a'i thrysorau yn *llai* eu gwerth, etto, gan mai hi ydyw iaith *pum-can-mil* o'n cyd-gristionogion a'n cyd-ddeiliaid, rhaid ei bod yn teilyngu y coleddiad manylaf, ac y bydd yn atdal yn gyfatebol i'n llafur."

Gwelir hefyd amryw sylwadau cywrain i'r un perwyl, yn amddiffyniad y diweddar ddysgedig Dr. Fuller o'r iaith Gymraeg. Mewn gair, gellir penderfynu gyda'r diweddar enwog Edmund Burke "fod y gerwindeb sain a feïir gan y cyffrediniaid beilch-ffolion, yn un o brif ffynhonau arucheledd a mawrfrydigrwydd iaith." Ond y prawf mwyaf diymwad o ardderchawgrwydd seiniadaeth y Gymraeg yw,—fod *sain* ei geiriau yn fynych megis adsain o'u *synwyr*. Os clywir fel y dywedir, grychleisiad y bibell yn y linell ganlynol o eiddo Virgil—

"*Formosam resonare doces amaryllida Sylvas*,"

clywir melys sain y delyn yn y geiriau,—

"Mil o leisiau melysion,
Mel o hyd y'mola hon."

Os ydyw y bedrolfèn yn symud yn araf yn y geiriau,—

"*Tardaque Eleusinæ matris volventia plaustra*,"

mae y cerbyd yn symud yn llawn mwy arafaidd a hwyrdrwm yn y llinellau,—

"Y'mlaen hwyrdrwm olwyniai,
Ac yn araf araf âi;"

Digitized by Google

ond clywir trwst traed meirch, a sŵn chwyrndröadau olwynion, yn yr englyn canlynawl:—

> "Cerbydau gorau pob gwron;—rhuant,
> Fel rheieidr mawrion;
> Aflonydd dwrf olwynion,
> A drystiant y'mhalmant Môn."

Braidd na chlywir sŵn rhuthr corwynt a themhestl yn y geiriau,—

> "*Una Eurusque, Notusque ruunt, creberque procellis,*"

ond nid mor naturiol ag yn y geiriau,—

> "Taranau trwy y wiwnef,
> Cefnlli' o ffenestri nef:
> Rheieidr fyrddiwn yn rhuaw,
> Yn ffrydiawg o lidiawg wlaw."

Os clywir sŵn cwymp *ych tew* yn y geiriau,—

> "*Sternitur, exanimisque tremens procumbit humi bos;*"

clywir swn ymraniad a mawr-gwymp *ynysoedd* yn y geiriau,—

> "Gan fôr gwyllt gwŷn ferwawg oedd,
> Yn torri, rhwng y tiroedd,
> Ynysoedd ymranasant,—
> Trymion i'r eigion yr ânt."

Os garw y bernir y geiriau,—

> —"*And on their hinges grate
> Harsh thunder,*"

llawn mwy garw meddyliaf ydyw y geiriau—

> —"Ar eu col o rygnu croch
> Daranau.

Digitized by Google

Ac os cynghaneddawl ydyw sain y geiriau,—

—"*Heaven open'd wide*
*Her ever during gates, harmonious sound*
*On golden hinges moving,*"

nid llai cynghaneddawl yw y geiriau,—

—"Llydan yr agorai nef
Ei bythawl byrth, ar golion aur yn troi
Maws eilw sain."

Er mor ddarluniadol o sŵn arfau, a thwrf terfysg rhyfel ydynt y llinellau,—

—"*Arms on armour clashing bray'd*
*Horrible discord, and the madding wheels*
*Of brazen chariots rag'd; dire was the noise*
*Of conflict,*"

meddyliaf mai nid llai darluniadol o hyny yw y llinellau canlynawl:—

—"Ar arfau eirf yn tyrfu cras
Ofnadwy ffrwch, a ffraw olwynion certh
Gerbydau prês gwythâent; garw oedd y swn
O drin."

Braidd na chlywir twrf ymwriad tonnau'r dyfnfôr yn y llinellau canlynawl:—

"Ymwriaw mae'r môr mawrwyllt,
Mewn bar yn ei garchar gwyllt:
A'r awyr yn adruaw
Y mawr drwst, gan y môr draw;"

ond clywir ei ruad yn troi yn sïad yn y geiriau,—

"Glwysfawl rhoed tonnau'r glasfôr,
Nid rhuo ond sïo i Sior."

Digitized by Google

Rhyfedd mor ddarluniadol o dwrf terfysg tyrfa ydyw y llinellau,—

"Y mae weithion ymwthio,
Gwyllt ruthrynt collynt eu co':
Ymwriaw â thrèm orwyllt,
Ar flaenau'u traed mewn gwaed gwyllt,"

ac o dwrf taranau yw y geiriau,—

"Tân a dŵr yn ymwriaw
Yw'r taranau dreigiau draw."

ac o drwst dinystr naturiaeth y llinellau,—

"Eryri oror eirian,
Mwy ni fydd ond defnydd tân:
Hagr iawn fydd y gerwin fâr;
Daw'r bryniau i dir braenar,
O'u hucheldrem yn chwyldroi,
Fel hyrdd ar draws ffyrdd yn ffoi;
Goror y dyfnfor yn dân,
Yn grychias fel berw grochan."

Nid all y dwfr ei hun, pan yn rhedeg ar hyd y dolydd a'r gwaelodion gwastataf, fod yn fwy llyfn nâ'r geiriau canlynawl,—

"Elfen deneu ysblenydd,
Lyfndeg yn rhedeg yn rhydd;
Rinweddol olesol lân,
Loyw oeraidd, o liw arian:"

Ond clywir rhaiadr dŵr yn hydrwyllt dorri dros greigiau a chlogwyni yn yr englyn,—

"Uchelgadr rhaiadr dwr ewyn,—hydrwyllt,
Edrych arno'n disgyn:
Crochwaedd y rhedlif crychwyn,
Synnu pensyfrdanu dyn."

Digitized by Google

Ac os cynghaneddawl ydyw sa'

—"*Heaven op*
*Her ever dr*
*On gold*

nid llai cynghane

...eithiol ; a
...*yn*, fel swn afonig yn rh...
Er ...*ddolydd a* gwaelodion, yn burion i foddio y glust o...
r' ...*dyner, ond* yn rhy ddistaw ac *un*-seiniawl i fod yn *fa*wreddawg ac effeithiawl.

*Ni* byddai ond rhyfyg o'r mwyaf i mi yn bresenol, gyhoeddi barn ar deilyngdod cydmarol hyawdledd Athen, a hyawdledd Llundain; ond credaf yn ddïysgog, pe buasai yr ysgrifenydd crybwylledig yn adnabyddus o ragoriaethau iaith y Cymry, y buasai yn penderfynu heb betrusder, fod hyawdledd Cymraeg diledach, mor ddeniadol, mor rymuslawn, ac effeithiol a dim a lifodd erioed o enau y ffraethaf o'r enwogion gynt.

Digon gwir, y medrai *rhai* o areithyddion Athen, gynhyrfu neu dawelu, wrth eu hewyllys, fynwesau mil o ryfelwyr. Digon gwir, fod y daran a chwyrn-daflodd Demosthenes at ben Philyp, yn para i ruo hyd yn bresenol, a bod ei hyawdledd, er ei ddadwisgo o ysgogiad a llafar-ddawn, ei anafu gan amser, a'i wanychu gan gyfieithiad, yn ddigon grymus i gynneu *heddyw*, yn ein mynwesau ni, y tân a ddiffoddwyd gan law oer angau yn y mynwesau a anerchwyd

Digitized by Google

yn wasgaredig ar hyd ei meus-
ma heb erioed lawn ymagor i
gylchdaenu eu perarogl.
leddu, ie yr amser nod-

*analluadwy*. Nas
nodawl enwau afonydd,
brodyr. Fod enw M enwog fanau
fwy hud-ddenawl na holl berarogl 'r *ser* dys-
holl ddifyrwch chwareudai Ffrainc. Fod miloedd
ddoniau areithyddawl yn tynu y Brenin grym oddiar gan
orsedd at ei draed, yn atal ffrwd ruthrawg ei n
radlonedd, ac yn peri i'r mwyaf gwawdus af-
feinio. Fod taran ei iaith, pan yn darlunio glust-
erchyllfeydd barn, yn peri i annuwiaeth wyneblasu,
i uchel-fonedd soddi i'r llwch, ac i'w wrandawyr
godi o'u heistedd-leoedd a ffoi mewn dychryn.

Digon gwir hefyd i ffraethedd awen-ffrydiawg Pitt, a Fox, a Burke, a Canning, a Brougham, a'u brodyr, dwym-gynhyrfu cyn yma, fynwesau—nid "mil o ryfelwyr," na "thorf o'r werin," ond cannoedd o brif-flaenoriaid Prydain. Ond credaf yn ddiysgog, pe cawsai y Gymraeg *haner* y coleddiad a dderbyniodd ieithoedd Athen, a Rhufain, a Pharis, a Llundain, y buasai ei hyawdledd yn llawer grymusach na'r eiddynt hwy. Y mae hyawdledd Cymraeg, pan yn meddu ei ragoriaethau cynhwynawl, weithiau mor feddal-fwyn a denawl a swn sïad afonig, pan yn

Digitized by Google

Cefais fy nghynhyrfu yn ddiweddar wrth ddarllen gwaith ysgrifenydd medrus o Loegr, yn ardystio yn gyhoeddus, fod hyawdledd areithwyr Groeg a Rhufain, yn llawer grymusach nâ dim a glywyd erioed yn Senedd-dai Prydain. Fod y *Saesonaeg*, yn gystal a ieithoedd godidocaf y cyfandir, yn rhy wastad-lyfn i fod yn rymus-lawn ac effeithiol; a bod ffraethedd y "*dyddiau hyn*," fel swn afonig yn rhedeg dros ddolydd a gwaelodion, yn burion i foddio y glust ôr-dyner, ond yn rhy ddistaw ac *un*-seiniawl i fod yn fawreddawg ac effeithiawl.

Ni byddai ond rhyfyg o'r mwyaf i mi yn bresenol, gyhoeddi barn ar deilyngdod cydmarol hyawdledd Athen, a hyawdledd Llundain; ond credaf yn ddïysgog, pe buasai yr ysgrifenydd crybwylledig yn adnabyddus o ragoriaethau iaith y Cymry, y buasai yn penderfynu heb betrusder, fod hyawdledd Cymraeg diledach, mor ddeniadol, mor rymuslawn, ac effeithiol a dim a lifodd erioed o enau y ffraethaf o'r enwogion gynt.

Digon gwir, y medrai *rhai* o areithyddion Athen, gynhyrfu neu dawelu, wrth eu hewyllys, fynwesau mil o ryfelwyr. Digon gwir, fod y daran a chwyrn-daflodd Demosthenes at ben Philyp, yn para i ruo hyd yn bresenol, a bod ei hyawdledd, er ei ddadwisgo o ysgogiad a llafar-ddawn, ei anafu gan amser, a'i wanychu gan gyfieithiad, yn ddigon grymus i gynneu *heddyw*, yn ein mynwesau ni, y tân a ddiffoddwyd gan law oer angau yn y mynwesau a anerchwyd

Digitized by Google

gyntaf. Y mae'n wir hefyd, fod ffraethedd Sisero yn llifo allan yn rhyferthwy mor anwrthwynebol, nes dryllio cyngreiriau, dïarfogu byddinoedd, ffrwyno aflywodraeth, a pheri i senedd arswydus Rhufain sŷn-grynu, ac ufyddhau mewn distawrwydd. Digon gwir, fod effeithiau annirnadwy yn cyd-fyned â hyawdledd hynodawl Massilon, Bourdalone, Bossuet, a'u brodyr. Fod enw Massilon fel areithydd, yn fwy hud-ddenawl na holl berarogledd Arabia, ac na holl ddifyrwch chwareudai Ffrainc. Fod grym ei ddoniau areithyddawl yn tynu y Brenin oddiar ei orsedd at ei draed, yn atal ffrwd ruthrawg afradlonedd, ac yn peri i'r mwyaf gwawdus glustfeinio. Fod taran ei iaith, pan yn darlunio erchyllfeydd barn, yn peri i annuwiaeth wyneblasu, i uchel-fonedd soddi i'r llwch, ac i'w wrandawyr godi o'u heistedd-leoedd a ffoi mewn dychryn.

Digon gwir hefyd i ffraethedd awen-ffrydiawg Pitt, a Fox, a Burke, a Canning, a Brougham, a'u brodyr, dwym-gynhyrfu cyn yma, fynwesau—nid "mil o ryfelwyr," na "thorf o'r werin," ond cannoedd o brif-flaenoriaid Prydain. Ond credaf yn ddiysgog, pe cawsai y Gymraeg *haner* y coleddiad a dderbyniodd ieithoedd Athen, a Rhufain, a Pharis, a Llundain, y buasai ei hyawdledd yn llawer grymusach na'r eiddynt hwy. Y mae hyawdledd Cymraeg, pan yn meddu ei ragoriaethau cynhwynawl, weithiau mor feddal-fwyn a denawl a swn sïad afonig, pan yn

Digitized by Google

rhydd redeg dros ddolydd gwastad Dyffryn Clwyd; ond bryd arall mor drystfawr a mawreddawg a swn rhuad rhaiadr pan yn hydrwyllt dòri dros greigiau clogwynawg yr Eryri fawr. Hyderaf, gan hyny, ond ystyried y crybwylliadau uchod yn ddwys a diduedd, y canfyddir ychydig o "ARDDERCHAWGRWYDD YR IAITH GYMRAEG;" ac y gellir penderfynu yn ddibetrus nad oes un diffyg ynddi a analluogai ein Hanesyddion i ddilyn camrau Josephus, Tacitus, neu Rawleigh; a ataliai ein Hanianyddion i rodio llwybrau Aristotle, Plato, neu Newton; a anaddasai ein Hareithwyr i sefyll ar *Fforum* Rhufain yn ymyl Sisero, neu ar yr *Areopagus* yn Athen wrth oehr Demosthenes,—neu a anghymmwysai ein Beirdd i eistedd ar ddeheulaw Homer, Virgil, a Milton, yn eu cadeiriau barddonawl. Dichon mai nid anfuddiol, cyn terfynu, fyddai gosod ger bron fyr-grynodeb o'r hyn a ddywedwyd yn yr Ysgrif wreiddiol ar y "*Buddioldeb o'i choleddu, a'r moddion mwyaf tebygol i sicrhau ei pharhad a'i llwyddiant.*" Crybwyllwyd yn

1. Ei bod o herwydd ei rhagoroldeb yn *teilyngu* coleddiad; a bod ynddi aur a pherlau gwerth eu codi o'r llwch, a'u cadw yn loywdeg.

2. Ei bod, o herwydd yr hir esgeulusdra a gafodd, yn *gofyn* coleddiad, ac nad ydym am osod allan ei bod eisoes wedi ei pherffeithio.

3. Fod "purdeb ac amledd" ei theithi cystrawenol yn mawr hwylysu y ffordd iddi gael coleddiad; a

Digitized by Google

bod myrdd o flodau yn wasgaredig ar hyd ei meusydd, ag ydynt hyd yma heb erioed lawn ymagor i hud-ddenu y llygad ac i gylchdaenu eu perarogl.

4. Fod yr *amser* i'w choleddu, ie yr amser nodedig, wedi dyfod.

5. Fod ei chladdu yn beth hollol *analluadwy*. Nas gellir byth ei llwyr ddifodi heb newid enwau afonydd, dinasoedd, mynyddoedd, a llawer o enwog fanau Europe—heb osod enwau newydd ar rai o'r *ser* dysgleiriaf sy'n addurno'r ffurfafen—heb losgi miloedd lawer o lyfrau Cymreig—heb ddinystrio tros gan mil o ddarnau prydyddawl—heb ddifa dros ddau can mil o Feiblau—heb gadwyno os nid claddu awenydd cannoedd o feirdd, a miloedd o ysgrifenyddion medrus—heb ddystewi llais cân a dinystrio sylfaen cysur myrdd o blant ein hysgolion Sabbothawl—heb lyffetheirio ffraethineb lliaws o areithwyr hyawdl, a chau geneuau torf o weinidogion ffyddlonaf Crist—heb ddifa dawn a sychu yspryd gweddi y nifer amlaf o dduwiolion Cymru—heb ddiffodd y canhwyllau dysglaer sy'n goleuaw ein heglwysi, a symud y canhwyllbrenau o'u lle—heb fygu y fflam fywiol sy'n gloyw gyneu ar fyrdd o allorau teuluaidd, a gwneud i'r mwg darth peraidd sy'n esgyn oddiarnynt lwyr beidio—heb ollwng y gelyn i mewn fel afon i lunio bradau, ac i hau efrau cyfeiliornad o fewn ein gwlad—heb lenwi ein llenyrch llonydd o ormeswyr ac annuwiaid—heb beri i flodau tecaf gardd yr eglwys wywo, a throi



Digitized by Google

îrder llawer enaid yn sychder hâf mewn gair, heb lŵyr gladdu ein henw a'n coffadwriaeth fel cenedl, a rhoddi clwyf angeuol i achos duwioldeb yn ein gwlad.

I'r dyben i "*sicrhau ei pharhad a'i llwyddiant,*" crybwyllwyd yn

1. Fod eisiau penodi dau neu dri o'n beirniaid i sefydlu arddygraff yr Iaith.

2. Y byddai'n fuddiol eu hannog i gyfansoddi Geiriadur cyflawn Cymraeg oll, a Ieithadur manylaidd, i fod yn brawf-rëol yr Iaith.

3. Y byddai'n fuddiol cael llithoedd ar areithyddiaeth, cyffelyb i'r eiddo Blair, yn yr Iaith Gymraeg.

4. Y byddai'n dda i'r Cymry gael Llyfr cynhwysfawr ar "Gylch y Celfyddydau."

5. Y byddai'n addas i'r Gymraeg gael y lle blaenaf yn llechres cynllun y gwersi ieithadurol yn ein prif-ysgolion; a chael rhan arbenig o sylw ac amser yr efrydyddion a'u hathrawon: am y byddai mor fuddiol i efrydyddion Cymru fedru deall cystrawiad y Gymraeg a chystrawiad estron-ieithoedd —fedru ysgrifenu llithoedd Cymraeg a llithoedd Lladin; y byddai bod yn gyfarwydd yn y mesurau Cymraeg mor fuddiol iddynt a medru mesur mydrau chwechainc Homer a Virgil; ac am y byddai iawn hyfforddiant yn iaith eu mam, yn gynorthwy iddynt ddysgu *estron*-ieithoedd.

6. Y dylid rhoddi cefnogiad calonog, yn gystal a chyfarwyddyd boreuol i ieuenctyd o awenydd a doniau.

Digitized by Google

Llawer blodeuyn hardd a darddodd rhwng bryniau Cymru i wrido yn anweledig, ac i golli ei berarogl yn y gwynt a'r dymhestl. Llawer perlyn seiriandeg a guddiwyd yn ein glynoedd heb i lygad ei weled. Llawer Cymro o gynheddfau Newtonaidd, wedi treulio ei oes i drin erydr a phladuriau, a syrthiodd yn anadnabyddus i lwch y bedd o ddiffyg annogaeth a chefnogiad—trwy gyfarwyddo a chefnogi ieuenctyd o ddoniau, buan y megid yn ein gwlad rïanedd teilwng o gyfeillach y Ieithyddes Smith a Hannah More; a bechgyn cymhwys i ddilyn camrau yr un fŷner ai Handel, ai Milton, ai Locke, ai Syr Isaac Newton, ai Syr William Jones. Nid rhyfedd fod cyfansoddiadau Virgil mor gynganeddawl pan y cafodd *saith-gan-gini* am bob llinell yn ei chweched Æneid.

7. Y dylid ymdrechu rhwyddhau cylchrediad y cyhoeddiadau misol.

8. Y dylai ysgrifenwyr Cymreig bob amser ymofalu i arfer iaith bur, rwydd, a grymus; ac y dylai areithwyr a darllenwyr cyhoeddus ymdrechu seinio pob gair mewn modd diledach a naturiol, fel na byddo i unrhyw anmhuredd anurddo dalenau ein llyfrau, na chloffi hyawdledd ein hareithiau.

9. Y dylid dwyn ymlaen gyda manyldra, adolygiad y wasg, mal y didoler y gwerthfawr oddiwrth y gwael,—y cymeradwyer yn gyhoeddus yr hyn sydd ragorol a chanmoladwy, ac y noder allan yn ëofn yr hyn sydd anghyson a beiadwy.

10. Y dylid arfer y Gymraeg yn fynychach mewn

Digitized by Google

llythyrau a hyspysiadau; ac ar arwydd-estyll, arf-beisiau, bedd-feini, a chof-golofnau.

11. Mai da, ysgatfydd, fyddai erfyn caniatad y llywodraeth i arfer y Gymraeg yn ein llysoedd barn.

12. Y dylid annog pendefigion Cymru i'w siarad yn hyrwydd yn eu cylchoedd teuluaidd a chyhoeddus; ac yn enwedig i ddwyn i fynu eu hetifeddion a'u plant yn gyfarwydd ynddi.

13. Ei bod o bwys nid bychan i gael nawdd a chefnogiad y *pendefigesau* a'r *mamau*. *Rhaid* cael cynhorthwy y rhianedd; ac er llwyddo i hyny, gellid eu hanerch yn fwyn yngeiriau denawl Ioan Tegid,—

"Merched Cymru, mwyn galonau,
Glan o bryd, a gwedd, a geiriau,
Cerwch iaith eich mam yn helaeth—
Cerwch wlad eich genedigaeth.

Nid oes mwynach peth na chlywed
Iaith Gymraeg o enau merched;
Y Gymraes a fyddo fammaeth,
Cofied wlad ei genedigaeth."

14. Y dylid cofnodi mewn llinellau barddonawl, yn hanes-lyfrau yr oes, ymdrechiadau gwladgarol yr enwogion urddasol sy'n caru eu gwlad, yn coleddu eu hiaith, ac yn derchafu eu cenedl.

Yn olaf, y dylid ymdrechu dwyn rhagoriaethau yr iaith i sylw dysgedigion gwledydd eraill.—Ac ond gwneuthur y pethau hyn, byddir yn debyg o "sicrhau ei pharhâd a'i llwyddiant," ac o ddynodi y *ganrif bresenol fel dechreuad oes Augustaidd yr Iaith Gymraeg.*

Digitized by Google

## Y CREULONDEB

O

## YSPEILIO LLONGAU-DRYLLIEDIG.

---

GAN fod llongddrylliadau yn mynych gymeryd lle ar ororau Prydain, a *rhai* ysywaeth mor ddïegwyddor a dideimlad ag ymruthro yn lladronaidd i ysglyfaethu eu hyspail hwynt, meddyliaf fod *Blaenoriaid Cymdeithas Gymreigyddawl Rhuthyn* yn teilyngu diolchgarwch y dywysogaeth am godi eu llais mor uchel yn erbyn y fath ysgelerder gorwarthus.

Y mae *meddwl* am erchylldra y fath arferiad yn ddigon i glwyfo calon un Cymro diledryw, ac i beri iddo wlychu ei lythyr â dagrau o waed wrth ysgrifenu yn ei herbyn. Y mae yn taro mewn modd uniongyrchol yn erbyn Llywydd y bydoedd,—yn erbyn gosodiadau pendant deddf ac efengyl,—yn erbyn cyfreithiau daionus yr ymerodraeth Frutanaidd,—yn erbyn brî a chymeriad y genedl,—yn erbyn prif egwyddorion dyngarwch,—ac yn erbyn corph ac enaid y môr-leidr ei hun; a rhaid o ganlyniad, fod ei hechryslondeb yn annhraethadwy.



Digitized by Google

Yn gyntaf, gellir sylwi fod yr adyn a all gyflawnu y fath erchyllwaith yn anystyriol o gyfiawnder tanbeidiol y Duw Hollalluog, yr hwn y mae ei lygaid fel y fflamau tân yn cynniwair trwy yr holl ddaear; yr hwn sydd yn parhaus gyhoeddi, gydâg awdurdod dwyfol, uwchben pob un o ddeiliaid ei lywodraeth, "*Na ladratta*;" a'r hwn hefyd sydd yn sicrhau yn y modd dwysaf y caiff "*lladron*" eu cloi allan o baradwys y nef, a'u cadwyno am byth yn eigionau *Gehenna*.

Mae yr adyn a fedr ruthro ar draws y bygythiad ofnadwy hwn, ac anturio yn mlaen yn nghanol erchyllfeydd llongddrylliad,—pan ysgatfydd, y bydd mellt yn rhwygo yr awyr o'i amgylch, a thwrf rhuad taranau yn siglo y creigiau dan ei draed,—pan y bydd tonau cynddeiriog y weilgi yn gorwyllt ddygyfor ar ei ddeheulaw,

"A'r awyr yn adruaw,
Y mawr drwst gan y môr draw,"

ar ei aswy,—pan y bydd y llong o flaen ei lygaid yn cael ei dryllio yn ysgyrion gan nerth y tonau, a'r creigiau clogwynawg o'i ôl yn gruddfan wrth adseiniaw oer-waedd wallgofus ugeiniau o drueiniaid wrth gydsuddo i eigionau y dyfnfor;—ïe, mae yr adyn gorphwyllog a all neidio yn mlaen yn y funud ddychrynllyd hon, gan roddi her i elfenau cynddeiriog-wyllt natur, ac estyn ei grafangau euog i ysglyfaethu i'w feddiant eiddo gwaharddedig, yn

Digitized by Google

dangos yn eglur fod ofn Duw wedi diflanu o'i olwg, fod ei war fel yr haiarn, a'i dalcen fel y prês, fod ei galon ddu wedi ei hamwisgo â rhyfyg triphlyg, a bod ei gydwybod farwaidd wedi ei hên serio â haiarn poeth.

Ond dichon y cyfyd rhyw ddihiryn ei lais yn ëon gan dystio, mai "*Y cyntaf ei law a'i lygaid a bïa eiddo llongddrylliedig.*" Nage, O ddyn! Ti a gyfeiliornaist yn ofnadwy. *Nid* dyna iaith cyfreithiau Lloegr. Nid dyna iaith cyfreithiau'r nef;—ond iaith yr egwyddor felldigedig a blanwyd yn dy galon gybyddlyd gan benaeth y cythreuliaid ei hun; canys y mae y fath arferiad or-greulawn nid yn unig yn groes i natur a gorchymynion y Goruchaf, ond yn *droseddiad erchyll o gyfreithiau daionus Prydain.* Geilw *Syr Edward Coke* y môr-leidr yn "*(hostis humani generis,)*" elyn dynolryw; a thystia *Blackstone*, yn ei "*Gommentaries,*" ei fod mewn effaith yn cyhoeddi rhyfel yn erbyn dynoliaeth yn gyffredinol, ac y dylai *pob* dyn ymarfogi yn ei erbyn, ac ymdrechu ei ddwyn i afael cospedigaeth.

Y mae ei ymddygiad yn drosedd o brif erthyglau deddf llongwriaeth, ac yn taflu y gwarth a'r dirmyg mwyaf ar lywodraeth y tir. A chan fod yr hwn a doro "*un pwnc*" o'r gyfraith, "*yn euog o'r cwbl*" mewn ystyr foesol, gellir penderfynu fod egwyddor y dyn a all estyn ei ddwylaw i ladratta eiddo llongddrylliedig, yn ddigon ysgeler i anrheithio eiddo ei

Digitized by Google

gymydog,—i yspeilio dodrefn cyssegredig ein temlau, i atal cyllidaeth y deyrnas,—ac i ruthro i ystafell *Sior y Pedwerydd* i rwygo y deyrnwialen o'i law, a chipio y goron oddiar ei ben.

Ond gellir sylwi yn mhellach fod goddef y fath arferiad felldigediglawn yn ddigon i gymylu gogoniant, a dinystrio cymeriad unrhyw genedl.

Pe byddai i long o Gymru hwylio drosodd a myned yn ddrylliau ar rai o greigiau Ffrainc ; a phe byddai i drigolion yr ardaloedd cylchynawl ymdyru fel haid o wanc-gwn o amgylch ei drylliau, gan ddirgel lawenhau wrth weled tònau neifion yn claddu ei morwyr medrus yn y gorddyfnderau, ac yn ymorfoleddu wrth gael ffordd rydd i gludo eu hanrhaith annghyfiawn i gûdd-gelloedd eu trysordai, byddai yn eithaf addas i gyhoeddi yn holl "*Lloyd-Lists*" y byd, fod y cyfryw yn fwy ysgeler na'r fintai waethaf o garnlladron *Algiers*; yn fwy dideimlad na hen gewri unllygeidiog *Sicily*; yn fwy ysglyfaethus na'r anghenfilod sydd yn llechu dan geulanau y *Nile*; ac yn fwy i'w hofni na chlogwyni echrydus *Scylla*, a llynclyn ofnadwy *Charybdis*. Mewn gair, mae y diofryd yspail hwn, fel yr eiddo Achan gynt yn ngwersyll Israel, yn ddigon i dynu barn y nef ar unrhyw wlad, a pheri i gleddyf dialeddawl cyfiawnder ddifrodi ei holl drigolion.

Ond och! Pwy fedr draethu, ïe, pwy fedr ddirnad *greulondeb* echryslawn y lladrad hwn! Y mae cip-

Digitized by Google

olwg arno yn ei liw ofnadwy ei hun, yn ddigon i glwyfo dyngarwch, a gwaedu dynoliaeth,—yn ddigon i daflu natur i loesau echryndod, a pheri i'r graig gallestr dywallt dagrau. Mae yr adyn dideimlad a fedr lawenhau wrth weled llong yn cael ei lluchio ar frîg y tonau, a'i chwyrndaflu yn erbyn y creigiau nes ei dryllio yn ganddryll, yn greulonach na'r *Nero* a daniodd Rufain. Mae yr anghenfil a all adael i gyd-greadur suddo i'r eigion heb gynyg estyn rhaff i'w achub, yn fwy dideimlad na *Guy Fawkes.* Mae y dihiryn fedr ddirgel lechu ar noson ddu dymhestlog mewn holltau craig i ddisgwyl am ysglyfaeth, a hoffa gael ei arwain at yspail gan oergri anobeithiol trueiniaid wrth suddo i eilfyd, ac a fedr yspeilio llongddrylliad yn ngoleu y tân a gyneuasid fel arwydd o gyfyngder, yn fwy mileinig na blaenor y Gwylliaid cochion. Mae yr adyn fedr ruthro yn ddigryn at gorphyn menyw wedi ei daflu i'r traeth gan y tonau,—fedr blannu ei droed anghenfilaidd ar fynwes hawddgarach na'r eiddo Tegau Eurfion i rwygo y tlysau o'i dwyglust,—fedr ddadgymmalu ei bys er mwyn y fodrwy aur oedd am dano,—fedr ddynoethi ei dwyfron er mwyn y napcyn sidan oedd yn eu cuddio,—fedr rwygo ymaith y rhwymyn oedd yn cylymu baban mynwesol ar fron yr hon a'i hymddûg,—fedr daflu i geuffos gorphyn marw priod a thad, gan atal cydmares hygar ei fywyd i blethu cudyn o'i wallt er cofio am dano,—fedr rwystro ei

Digitized by Google

etifedd i wisgo ei oriadur, a lluddias ei deulu i bêrarogli ei gorph â'u dagrau, ac addurno ei fedd â maen coffadwriaethol—mae yr adyn, meddaf, sydd yn ddigon dideimlad i gyflawnu y creulonderau hyn, yn dduach ei galon nac un ellyll uffernol, ac yn gymhwys i lenwi yr eisteddle uwchaf ar orsedd y *Pandæmonium.*

Ond nid ellir byth amgyffred haner erchylldra yr arferiad ofnadwy hon, heb sylwi ychydig ar yr effeithiau galarus y mae'n gael ar yr *yspeilydd ei hun.* Pe medrid rhoddi darluniad manwl a chywir o syched didor ei enaid am ysglyfaeth a dinystr, o galedrwydd ei galon adamantaidd, a dideimladrwydd ei gydwybod seriedig, byddai yn ddigon i beri i'r galon grych-neidio yn y fynwes, a pheri i'r gwaed anghofio ei redfa. Wedi llwyddo unwaith neu ddwy i gael ychydig yspail i'w feddiant, ni fedr ei grafangau mileinig fod byth yn llonydd. Yn lle ymdawelu gartref i ddilyn ei alwedigaeth gyfreithlon, a gorphwys yn mynwes ei deulu, ceir ei weled yn codi allan fel gwŷll yn mîn y tywyll-nos i edrych am ysglyfaeth. Wedi unwaith gychwyn o'i loches y mae fel bwystfil rheibus o'r goedwig yn caru y tywyllwch mwyaf dudew, ac yn ei elfen wrth glywed rhûad y dymhestl ac ymderfysgiad y weilgi. Hwylia ei gerddediad yn mlaen tua lle deufor-gyfarfod, ac yna llecha yn ymyl torlan, neu dan glopa clogwyn, gan ddysgwyl yn awyddus i gorph marw, neu ddarn o long gael ei

Digitized by Google

luchio i dir. Ië, mor ddidor fydd ei awydd fel yr erys i ddysgwyl nes darn-rynnu, ac ni fyn ddychwelyd hyd oni ddaw Phoebus (haul) dranoeth yn ei gerbyd auraidd, a saethu ei belydr goleuawl nes diffodd y ser, —gwasgaru y tywyllwch,—a gwylltio bwystfilod y nos i ffoi bob un i'w ffau ei hun. Os dychwel adref yn *llwyddiannus*, ceir ei glywed wrth ddadlwytho ei yspail, yn dysgu i'w blant egwyddorion mwy andwyol a chythreulig na dim a ganfyddir yn Alcoran Mahomet, neu Oes Rheswm Twm Pain; y mae yn gosod eu traed ar lwybrau dinystr cyn braidd eu dysgu i gerdded, ac yna yn eu gadael i syrthio yn ysglyfaeth i ddialedd cyfiawnder. Y mae yn gollwng dros gof ei ymrwymiadau wrth allor *Hymen*, ac yn gadael i briod ei fynwes suddo yn resynawl i lynclyn gwarth a thlodi, trwy ei thwyllo i bwyso ar fwyniant anwadal ei yspail annghyfiawn. Ond os *siomir* ei ddisgwyliad, ac os try ei wib-ymdaith yn aflwyddiannus, ymgynddeirioga nes bod yn ddigon gwallgof i regu yr elfenau, a chablu Creawdwr y bydoedd, ac yn lle ymdrechu i adynill cysur iddo ei hun, a chynhaliaeth i'w deulu, odid fawr na thrŷ i fod yn lleidr *pen-y-ffordd*, nes o'r diwedd gael ei arwain i'r crogbren a'i wthio i eilfyd i suddo byth yn îs na'r bedd.

Y mae yn alaethus meddwl am drueni *un* adyn wedi ymollwng i'r fath bydew erchyll o ysgelerder a chalongaledwch, ond pe gellid arwain y meddwl i weled *mintai* o'r dihirwyr hyn yn cyflawnu eu her-

Digitized by Google

chyllwaith, ni fedrai dynoliaeth oddef yr olygfa heb droi draw i dywallt afonydd o ddagrau. Ar brydiau gwelir *rhai* o honynt mor fawr eu hawydd am yspail fel yr arosant ar y traeth am oriau yn nyfnder y gauaf, pan, ysgatfydd, y bydd

"Taranau trwy y wiwnef,
Cefnlli, o ffenestri nef,"—

nes peryglu eu bywyd. *Ereill* mor rhyfygus fel y rhuthrant i lwnclynoedd, nes cael eu llyncu i ddinystr. *Ereill*, wedi cael gafael mewn barilau o wirod, mor feddw nes methu ffoi o ffordd y tònau, ac *ereill* drachefn yn ymladd fel gwaed-gwn wrth fethu rhanu yr yspail.

Gan hyny pe digwyddai i neb ryw bryd gyfarfod un o'r yspeilwyr gorgreulawn hyn, dylai gasglu ei holl rym i gyhoeddi fel *Boanerges* yn ei wyneb,— O tydi adyn dideimlad, cyflawn o bob twyll ac ysgelerder, na feddwl y diengi rhag barn Duw. Er fod tywyllwch y nos wedi cuddio dy weithredoedd erchyll o olwg dyn,—er nad oes un swyddog gwladol fedr gael gafael yn y ddofn-gell ddu lle y cuddiaist dy ladrad,—er fod trueiniaid tylodion a yspeiliwyd genyt wedi syrthio yn ysglyfaeth i forfilod,—ie, er medru o honot tithau serio dy gydwybod, nes gollwng dros gof dy anfad greulonderau, etto cofia fod *llygad* y Duw holl-bresennol wedi eu canfod oll, fod *bys* y Goruchaf wedi ysgrifenu y cwbl mewn llythyrenau tragywyddol yn llyfr barn, a bod *dwrn* y Duw

Digitized by Google

hollalluog yn ddigon pwysig i daro yr ergyd dialeddol ar dy ben dïofrydedig. Ystyria fod dydd dial yn agoshau; ac yn y boreu ofnadwy yr agorir y llyfrau, cyfyd myrdd myrddiynau o'r *tywod* oedd dan dy draed—neidia'r *graig* oedd yn dy gysgodi—ac ymgyfyd y *tonau* oeddynt yn rhuaw ar dy ddeheulaw, pan yn cyflawni dy erchyllwaith, i fod yn dystion cyflym i'th erbyn; ac oni chleddir dy feiau mewn môr o anghof, ti a suddi byth mewn môr o wae.

Ni oddef terfynau y llythyryn hwn, onide, byddai yn dra hawdd i ni olrhain effeithiau echryslawn yr arferiad grybwylledig yn *llawer manylach;* ond terfynaf yn bresennol mewn llawn hyder y bydd i'r enwogion parchedig, ydynt heddyw yn gweini yn ein Temlau a'n Brawdlysoedd i godi eu lleisiau yn eu herbyn yn uwch nag erioed, fel na oddefer byth i'r fath bechod ysgeler orwedd wrth ddrws ein cenedl; ac nad oes un Cymro diledryw mor ddu ei galon a gallu cuddio y fath ddïodfryd-ladrad o fewn dirgelfa ei babell.

---

*Argraffwyd gan J. T. Jones, Caernarfon.*

Digitized by Google

